Reply to Anti Mormon Lectures 6 nos. 16

# TRAETHODAU

AR

# WYRTHIAU,

YN CYNNWYS

ADOLYGIAD AR DDARLITHIAU Y PARCH. J. JONES, LLANGOLLEN, A LLYFRYN Y PARCH. J. DAVIES, LLANELLI, AR YR UN PWNC.

MEWN CHWECH O DRAETHODAU.

---

Os yw'r Gwyrthiau wedi peidio,
Ofer mwy i neb obeithio:
Can's os cododd Crist rai meirw,
Ni ddaw'r lleill byth lán o'u lludw.

---

GAN JOHN DAVIS, MERTHYR.

---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN J. DAVIS,
HEOL JOHN, GEORGETOWN.

1852.

# CYNNWYSIAD.

## TRAETHAWD I.



## TRAETHAWD II.



## TRAETHAWD III.



## TRAETHAWD IV.



## TRAETHAWD V.



## TRAETHAWD VI.



*** Dylai y "TRAETHAWD AR WYRTHIAU, yn darlunio pa beth ydynt, eu dyben, y pryd eu cyflawnir, a'u safonolrwydd i brofi dwyfoldeb crefydd," gael ei osod ar ddiwedd y traethodau uchod, fel ag i gyfansoddi un llyfr.

~~Treatise on Miracles~~

RHIF. 1.] [PRIS 1*g*.

# TRAETHODAU

AR

# WYRTHIAU,

YN CYNNWYS

ADOLYGIAD AR DDARLITHIAU Y PARCH. J. JONES, LLANGOLLEN, A LLYFRYN Y PARCH. J. DAVIES, LLANELLI, AR YR UN PWNC.

---

GAN JOHN DAVIS, MERTHYR.

---

## TRAETHAWD I.

### §I.—RHAGYMADRODD.

YR unig beth a achosodd cyhoeddiad y traethodau hyn, oedd Darlithiau y Parch. J. Jones, Llangollen, ar Wyrthiau, y rhai a draddododd efe yn Bethesda, Merthyr, ar y 25ain o Chwefror, a'r 3ydd a'r 17eg o Fawrth, 1852. Buom ni yn bresennol yn gwrandaw y tair darlith, ac yn eu hysgrifenu i lawr; ac wedi hyny cawsant eu hadolygu yn gyhoeddus yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, gan yr Henuriad Phillips a ninnau, ynghyd â'r brawd Robert Evans, i gynnulleidfaoedd lliosog. Eithr gan fod Mr. Jones yn parhau i draddodi y darlithiau hyn ar hyd a lled y wlad, barnasom yn addas, trwy annogaeth lluoedd o frodyr, i'w hadolygu mewn rhes o draethodau, y rhai a gânt ymweled â phob cwr o Gymru. Ar yr un pryd, bydd i ni adolygu y llyfryn a elwir "Doniau Gwyrthiol," gan y Parch. J. Davies, Llanelli, Brycheiniog, yr hwn, mewn llawer o byncs-iau, sydd yn cytuno â Mr. Jones; a digon tebyg y sylwn hefyd ar rai pethau yn Nhestament Newydd y Bedyddwyr, gyda golwg ar "ddiwedd y byd," &c. Er mwyn cadarnhau ein *reports* o Ddarlithiau Mr. Jones, dichon y cyfeiriwn yn aml at y llyfrau y mae efe wedi gyhoeddi, pan y cyffyrddant â'r pwnc mewn llaw, fel na chaffo neb fawr esgus o ddweyd ein bod yn cam-adrodd yr hyn a draddododd efe yn ei ddarlithiau.

Nis gallwn ddweyd etto pa nifer o draethodau a gyhoeddwn, ond ymdrechwn na fyddant dros chwech, am geiniog yr un. Y prif byncciau a gymmerwn i ysgrifenu arnynt, fydd y rhai

canlynol:—Gwyrthiau—pa beth ydynt; Dyben Gwyrthiau; Gwneuthurwyr Gwyrthiau; Gwyrthiau yn gyhoeddus a dirgelaidd; Apostolion—eu galwad, eu swydd, a'u nifer—Pedr yn ben arnynt—Pa fodd yr oeddynt yn Dystion o Grist; Prophwydi—y Ddau Brophwyd mawr, Moses a Christ—Arwydd Prophwydi—Prophwydi ar ol Crist; Yr Ysbryd Glân—Bedydd yr Ysbryd Glân—Doniau Gwyrthiol yr Ysbryd Glân—parhad Bedydd yr Ysbryd a'r Doniau Gwyrthiol, a'r ffordd i'w cael; Eneinnio ag Olew a gweddio—ar bwy y gweinyddid yr ordinhad hon?—Parhad yr ordinhad yn yr Eglwys; Barn Duw, a Dinystr Jerusalem—pregethu yr Efengyl dros y byd—nefoedd a daear newydd; Gwyrthiau Swynwyr yr Aifft; Y Ddewines o Endor yn cyfodi Samuel; "Diwedd y Byd," a Dinystr Jerusalem; Arwydd i'r rhai digred; Yr Hyn sydd o Ran, a'r Hyn sydd Berffaith, &c.

Ymdrechwn drin pob pwnc ar wahan, gan ddosparthu pob Traethawd yn wahanol ddosranau, fel y gallo y darllenydd droi atynt gyda mwy o rwyddineb, ac hwyrach y gwneir Cynnwysiad i'r cyfan ar y diwedd. Nid ydym yn addaw y bydd i'r hyn a ysgrifenwn ddwyn llawer o debygolrwydd i'r hyn a draddodasom ni a'n brodyr yn gyhoeddus, wrth adolygu gwaith Mr. Jones; eithr ni a ymdrechwn ddwyn gerbron lawer o bethau hollol newyddion, a chymmeryd dull gwahanol o drin y pethau a fuont dan ein sylw yn flaenorol.

Er nad ydym ni ond megys "bugail" bychan yn ymyl y Cawr o Llangollen, etto teimlwn yn hollol ddi-ddychryn; ac er ei glywed yn cyhoeddi yn ei ddarlith olaf, "Mae yn rhaid fod yn *rhywbeth* cyn fy nghwympo i," etto pwy a ŵyr na fydd i geryg llymion y gwirionedd, o'n ffon-dafl ddiolwg ni, lynu yn ei benglog, a'i lorio yn ei hyd? Duw a ŵyr oreu am hyny; eithr fe wyddom ni hyn, ein bod yn rhyfela dros Dduw, ac mai gwae y sawl a wrthryfelo yn ei erbyn ef.

---

## §II.—GWYRTHIAU—PA BETH YDYNT?

Wrth ymosod ar ysgrifenu rhes o draethodau ar Wyrthiau, nid oes dim yn addasach na cheisio desgrifio pa beth ydynt. Dywedai Mr. Jones mai gwyrthiau yw yr hyn sydd yn groes i ddeddfau anian, can belled ag y gwyddom ni am ddeddfau

anian. Dywed rhai drachefn mai trosedd o ddeddfau natur, neu wrthwynebiad i reolau sefydlog anian, ydynt; tra y dewisa ereill "ddesgrifio gwyrth yn effaith gynnyrchiedig gan yr un achos, mor wirioneddol ag effeithiau cyffredin anian; ond yn unig nad yw yr achos a gynnyrcha wyrth yn gorwedd o fewn cylch deddfau natur." Yr ydym ninnau hefyd wedi rhoddi ein barn mewn Traethawd ar Wyrthiau, a gyhoeddasom y llynedd; ac y mae fel y canlyn:—"Gwyrth a alwn ni yr hyn sydd tu hwnt i'n dealltwriaeth, a'r hyn na allwn ei amgyffred, neu na fyddom wedi ymgynnefino ag ef. Nid oes dim yn wyrthiau yn ngolwg Duw, o herwydd y mae efe yn deall pa fodd y mae pob peth yn cael ei gyflawni: eithr i ni ymddengys pob peth yn wyrth, os na fyddwn yn ei amgyffred, neu wedi ymgynnefino ag ef, &c." (Gwel y Traethawd am ychwaneg). Mae llawer o bethau a ymddangosant yn wyrthiau i rai, tra na ymddangosent felly i ereill. Meddyliwn am gareg, natur arferol yr hon yw myned tuag i waered, yn cael ei chodi i fyny gan ysbryd anweledig i ni; ymddangosai hyn yn wyrth i ni, os na fyddem yn gwybod mai ysbryd fuasai yn ei chodi, eithr ni fuasai yn fwy o wyrth yn ngolwg yr ysbryd, nâ bod rhyw ddyn yn ei chodi i fyny, ac ni fuasai mewn un modd yn croesi deddfau anian. Meddyliwn etto am y rhinwedd ag oedd yn myned allan o Iesu Grist, yn iachâu y wraig hono o'i dyferlif gwaed (Marc v, 30); ac am y rhinwedd ag oedd yn y napcynau a ddygid oddiwrth berson Paul, yn iachâu y cleifion. Yr oedd y pethau hyn yn ymddangos yn wyrthiau i'r sawl nad oeddynt yn amgyffred pa beth oedd yn iachâu; eithr fe wyddai Crist a Phaul pa beth oedd yn achosi yr iechyd—mai Ysbryd Duw oedd yn gweithredu yno. Nid oes rheswm nad oes rhyw foddion yn cael eu harferyd er cyflawni gwyrthiau, fel er cyflawni pob peth arall. Meddyliwn am Grist yn rhoi llygaid i'r deillion: os gwir a ddywedai Mr. Jones nad oedd poteli ganddo wrth law (yr hyn sydd yn ammheus, fel y cawn ddangos etto), er hyny yr oedd yn arfer meddyginiaeth, pe na buasai yn ddim arall ond ei boeri yn gymmysg â'r clai; canys os oedd rhinwedd iachaol yn myned oddiwrtho ef ei hun wrth ei gyffwrdd, mae yn ddiau fod y rhinwedd hwnw yn helaeth yn ei *boeri* ef, tuag at y rhai ag oedd â'u ffydd ynddo ef fel Meddyg.

Ar y cyfan, ymddengys i ni fod llawer o bethau wedi cym-

meryd lle yn ngwahanol oesau y byd, dan yr enw gwyrthiau, ag na fyddent yn cael eu hystyried felly mewn amser i ddod. Er enghraifft, cymmerwn sylw o'r llewod gyda Daniel yn y ffau; daw amser heb fod yn hir y bydd yn naturiol i'r llewod ymddwyn tuag at bawb megys y gwnaethant tuag at Daniel; ac yr oedd amser wedi bod yn flaenorol i hyny, sef yn nghreadigaeth y byd, pan nad oedd yn "ddeddf anian" i'r llewod a chreaduriaid ereill, fod yn ysglyfaethgar. Yn wir, y mae yn ymddangos i ni fod yr holl wyrthiau sydd wedi eu cyflawni, yn ddangosiad eglur o'r gallu y mae Duw yn fwriadu ei gyfranu i holl blant dynion, fel yr adferer hwy, ynghyd â'r ddaear a'r nefoedd, yn ol i'w sefyllfa berffeithiedig, pan na all yr elfenau effeithio dim ar eu cyfansoddiadau, ac y byddant hwythau yn alluog i gyflawni gweithredoedd mwy nâ'r rhai a gyflawnodd Crist yn eu plith yn nyddiau ei gnawdoliaeth.

Mae yr ysgrythyrau yn dangos yn eglur fod anghen mawr am ffydd yn Nuw, er cyflawni gwyrthiau yn ei enw ef; canys y mae yr hwn sydd â'i ffydd yn fawr, ag addewid o gynnorthwy Duw, trwy gyfrwng ysbrydion gwasanaethgar. Dywed Crist y gallai efe gael "mwy nâ deuddeg lleng o angylion" i'w gynnorthwyo (Math. xxvi, 53); ac y mae yn ddiau fod lluoedd o angylion neu ysbrydion da yn gweini er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth, a lluoedd o rai drwg gyda y rhai dryg-ionus, ac yn arferyd eu gallu mewn amrywiol ffyrdd. Ond rhagor ar hyn etto.

Nid ydym wedi ysgrifenu ar y pen hwn, gyda dyben i wneyd dadl â neb ynghylch pa beth yw gwyrthiau, canys nid yw o nemawr bwys; yr ydym wedi traethu yr hyn a ddaeth i'n meddwl, ac yn awr yn gadael y darllenydd i farnu drosto ei hun. Eithr y mae un peth yn llyfryn y Parch. J. Davies, tud. 6, yn teilyngu ein sylw cyn gadael y pen hwn, ac y mae fel hyn—"Rhyfedd iawn ydynt effeithiau Mesmeriaeth, pan y sefydla ddyn yr un man, heb ddim ond ysgogiad llaw; ond nid oes ynddynt ddim yn wyrthiol, gan eu bod yn effeithiau cynnyrchiedig gan achosion naturiol." Yn awr, nis gallwn gredu peth fel hyn, canys os yw dadguddiadau cywir am ryw bethau yn wyrthiol, yna y mae llawer o bethau perthynol i Fesmeryddiaeth yn gwbl wyrthiol, fel ag y gwyr llawer, ac fel y profwn ninnau wrth drin *Gwneuthurwyr Gwyrthiau.*

## § III.—DYBEN GWYRTHIAU.

Gan ein bod eisoes wedi ysgrifenu ar y pwnc hwn hefyd yn y Traethawd ar Wyrthiau (yr hwn a ddylai ein darllenwyr ei feddu gyda'r Traethodau hyn), nis gwelwn fod anghen i ni etto ddweyd nemawr yn ei gylch. Myn y Parchedigion J. Jones a J. Davies ddweyd mai dyben gwyrthiau, yn fwyaf neillduol, yw profi dwyfoldeb athrawiaethau newyddion oddiwrth Dduw, megys yn nyddiau Moses ac Iesu Grist a'r apostolion; neu mewn geiriau ereill, mai gwyrthiau ydynt y maen prawf i brofi crefydd, ac wedi iddi gael ei phrofi unwaith, nad oes eisieu ei phrofi byth wed'yn. Mewn atebiad i hyn, ymddengys i ni mai dyben penaf gwyrthiau Duw, yw *y* dyben a nodir yn yr hanesion am danynt yn yr ysgrythyrau; os ydynt hefyd yn rhoddi gogoniant i Dduw, ac yn achosi i ddynion gredu, y maent yn ateb dybenion ereill, heblaw y dybenion neillduol mewn golwg. Ond o'r ochr arall etto, ymddengys mai prif ddyben gwyrthiau gan allu y tywyllwch, yw er cadarnhau gau-grefyddau, megys y gallwn ddeall wrth yr ysgrythyrau, ac nid er gwneuthur un daioni.

Oni buasai ein bod yn gwybod fod crefydd Crist wedi ei hadeiladu ar gadarnach sail nâ gwyrthiau a rhyfeddodau, ofnem y gwnai "pyrth uffern" ei gorchfygu; ond diolch ei fod wedi ei hadeiladu ar y "graig hon" (sef *dadguddiad*), fel nas gall dim ei syflyd. Mae *eglurhad* yr Ysbryd yn cael ei roddi i bob un er lleshad (1 Cor. xiii, 7), fel nad oes achos i neb gael ei dwyllo. Hyn, yn ddiau oedd mewn golwg gan Grist, pan ddywedodd, "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff *wybod* am y *ddysgeidiaeth* (neu y grefydd), pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru" (Ioan vii, 17). Beth, ai felly oedd Crist yn cadarnhau ei ddysgeidiaeth? Ië, yn ddiammau, ac ni allasai fod un ffordd yn well. Gallasai fod gwyrthiau yn gynnorthwy i lawer wneuthur ewyllys Duw, ond ni allasai gwyrthiau eu hunain fod yn brawf o'i ddwyfol ddanfoniad Ef, eithr yr oedd yn rhaid cael Ysbryd y dadguddiad i brofi hyny. Yr oedd gweithredoedd daionus Crist yn annogaethau cryfion i gredu ynddo, ond nid ymddengys eu bod yn ddigon i brofi ei athrawiaeth; onide, ni chyhoeddai yr addewid flaenorol o gael gwybodaeth sicr am y ddysgeidiaeth, trwy ufyddhau i'r Efengyl.

Mae yn wir fod Iesu Grist wedi cyfeirio sylw dynion anghred-iniol at y gwyrthiau a gyflawnodd, fel y prawf goreu o fewn eu cyrhaedd hwy yn eu sefyllfa hono, o'i ddwyfol anfoniad; ond pe dygwyddai iddynt gredu ac ufyddhau i'w ddysgeidiaeth (sef yr Efengyl), efe a'u cyfeiriai hwy at "ddawn yr Ysbryd Glan," yr hon sydd mewn addewid i "bawb yn mhell" (Act. ii, 38, 39), er eu galluogi i wybod am ei ddysgeidiaeth, ac i ddywedyd, "Ni a *wyddom* ein bod o Dduw, a bod yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni." Yr oedd yr Arglwydd, mae yn wir, yn cadarnhau ei air "trwy arwyddion," ond cofier mai arwyddion oedd y cyfryw ag a weithredai yr Ysbryd yn y credinwyr, trwy "ranu i bob un o'r neilldu, megys yr oedd yn ewyllysio." Yr oedd yr arwyddion hyny yn brofion yn y credinwyr eu hunain, trwy weithrediad yr Ysbryd, fod eu crefydd o Dduw, tra nad oedd yr arwyddion a welodd yr anghredinwyr gan yr apostolion ac ereill, yn ddim amgen nâ rhyw fath o brofion allanol, ynghylch pa rai y gallent gael eu twyllo, o ran dim a allent hwy wybod yn amgenach. Mae yn dra afresymol, ynte, fod gwyrthiau yn safon i brofi dwyfoldeb crefydd.

Etto, os yw yn alluadwy i alluoedd y tywyllwch gyflawni gwyrthiau (yr hyn a ymdrechwn brofi yn gadarnhaol yn y ddosran nesaf (§ iv), mae yr hwn sydd yn adeiladu ei grefydd ar wyrthiau, yn debyg o fod yn adeiladu ar y tywod. Cofied Mr. Jones, a phob un arall, nad yw Saint y Dyddiau Diweddaf, fel yr awgrymai efe eu bod, yn adeiladu eu crefydd ar wyrthiau, dirgel na chyhoeddus, eithr ar ddadguddiad yn unig, yr hwn ydyw sail yr apostolion a'r prophwydi, a sail yr holl rai nad ydynt yn adeiladu ar y tywod. Mae y rhai sydd yn awr yn adeiladu eu crefydd trwy ddarllen am wyrthiau Crist a'r apostolion, hanes pa rai a ysgrifenwyd gan yr apostolion eu hunain yn adeiladu ar sylfaen dywodlyd iawn; a phan welont hwy eu hunain arwyddion a gwyrthiau gau-brophwydi a chythreuliaid yn y dyddiau diweddaf, byddant yn debyg o gael eu hudo, o herwydd ni fyddant hwy wedi gweled unrhyw wyrth o'r blaen, a naturiol fydd iddynt gredu y gwyrthiau hyny. Eithr y mae'r bobl yn dadleu fod y byd yn dyfod yn oleuach, ac nas gall gau-brophwydi a chythreuliaid byth eu hudo; ond pwy sydd yn gwybod oreu? Dywedir yn Math. xiv, 24, y twyllant, pe byddai bosibl, ie, yr etholedigion; ac yn Dad. xiii, 12—16,

desgrifir un yn tynu tân o'r nefoedd, yn ngolwg dynion, ac yn twyllo y rhai sydd yn trigo ar y ddaear (er eu holl ddysgeidiaeth), gan beri i fychain a mawrion, cyfoethogion a thlodion, ufyddhau iddo, o herwydd ei ryfeddodau. Mewn gair, fe fydd y rhai hyn, ynghyd â'r tri ysbryd aflan (gwel Dad. xvi, 13, 14), yn argyhoeddi yr "holl fyd," oddieithr, efallai, rhyw ychydig o etholedigion, y rhai ni fyddant yn ystyried gwyrthiau yn safon crefydd. Mae sail crefydd y rhan fwyaf o'n cyd-wladwyr yn y dyddiau presennol, y fath, ag y diflanai ymaith, pe buasai rhyw un o'r gau-brophwydi hyny yn ymddangos, ac yn rhoddi arwyddion iddynt; ac nid yw yn debyg fod dynion yn gallach yn awr nag y byddant mewn ychydig o flynyddau etto, a chan hyny y mae yn debyg iawn y caent eu hudo i gredu cyfeiliornad, yr hyn yn wir, er yn ddiarwybod iddynt eu hunain, a gredant yn bresennol.

Yn awr, wrth derfynu ein sylwadau ar hyn, dywedwn, os mai dyben gwyrthiau Crist a'r apostolion oedd er profi eu hathrawiaethau hwy o Dduw, ac nad oedd eisieu gwyrthiau byth wedi hyny er profi yr un peth; yna, o ganlyniad, mae anghen mawr am wyrthiau ar enwadau y byd yn yr oes hon, o herwydd bod eu crefyddau gymmaint yn wahanol i eiddo Crist, nes y mae miloedd yn methu gwybod pa un sydd yn iawn: a chan fod Saint y Dyddiau Diweddaf yn honi fod eu crefydd hwy yn awr, yn gywir yr un fath ag eiddo Crist a'r apostolion, ni ddylai neb fod mor ynfyd â gofyn arwydd er profi ei dwyfoldeb. Nad beth yw dyben gwyrthiau, nid yw wahaniaeth i'r Saint; perthyna yn fwy i'r rhai a arweinir gan wyrthiau, yn lle gan ddadguddiad. Mae y Saint ar y "graig hon," ac yn gwbl ddiogel.

---

## § IV.—GWNEUTHURWYR GWYRTHIAU.

Dyweda llawer nas gall neb wneuthur gwyrthiau ond Duw yn unig. Mae hyny yn beth ag yr ydym ni yn ammau; etto caniatawn y gall mai Duw sydd wedi cynnysgaethu bodau ereill, yn ddechreuol, â galluoedd i gyflawni gwyrthiau, ac mai efe yn yr ystyr hyny yw awdwr y cyfan. Mae yn ddiau fod yr holl angylion ar y cyntaf, wedi cael galluoedd mawrion gan Dduw, megys yr ydym ninnau wedi cael galluoedd ganddo; ac

y mae yn rhesymol i feddwl fod yr angylion, megys ninnau, yn rhydd-ewyllyswyr, ac yn medru hefyd defnyddio eu galluoedd. fel ninnau, i weithredu da neu ddrwg. Wel, os derbyniwyd galluoedd felly gan yr angylion, mae yn ddiau eu bod yn cael parhau mewn meddiant gwastadol o honynt, megys y cawn ninnau, pa un bynag ai da neu ddrwg a wnelont. Yn awr, gallwn weled, trwy yr ysgrythyrau, i luoedd o'r angylion hyn droseddu yn erbyn Duw, trwy ganlyn eu tywysog mewn gwrthryfel yn ei erbyn; am hyny cafodd "yr angylion a bechasant eu taflu i uffern, a'u rhoddi i gadwynau tywyllwch, i'w cadw i farnedigaeth" (2 Pedr ii, 4). Tybia llawer o ddysgedigion, o herwydd y dywedir i'r angylion gael eu taflu i uffern, a'u rhoddi mewn cadwynau tywyllwch, nad oes rhyddid ganddynt i ymweled â'r byd hwn; ac felly, ymdrechant esbonio yr holl hanesion am fwrw allan gythreuliaid, yn y Testament Newydd, yn fwrw allan glefydau! Yn awr, nid ydym ni yn ewyllysio dywedyd pa fath le yw yr uffern dan sylw, na pha le y mae, nac ychwaith pa fath gadwynau yw "cadwynau tywyllwch;" eithr meddyliwn fod llawer yn camsynied yn fawr, trwy ddweyd nad yw ysbrydion drwg yn meddu un math o ryddid, na byth yn ymweled â dynion ar y ddaear. Mae yr ysgrythyrau yn dwyn profion lliosog fod Satan a'i angylion, neu ysbrydion drwg, neu gythreuliaid (fel y gelwir hwynt yn gyffredin), yn cartrefu yn fynych, os nid o hyd, ar y ddaear. Wedi i Satan gael ei daflu o bresennoldeb goleu Duw i dywyllwch, y lle cyntaf y cawn hanes iddo ddyfod, oedd i ardd Eden, er twyllo ein rhieni cyntaf; ac efe wedi hyny oedd yn cynhyrfu Cain i ladd ei frawd, a chynhyrfu ereill ar ei ol i wneuthur yr un peth, canys "lleiddiad dyn oedd efe (y diafol) o'r dechreuad" (Ioan viii, 44). Dro arall, y mae hanes am dano (yn Job i, 6, 7), yn sefyll gyda meibion Duw gerbron yr Arglwydd, ac yn ateb o ba le yr oedd yn dyfod,—mai "o dramwy ar hyd y ddaear, ac o ymrodio ynddi;" yr hyn sydd yn profi y meddai ryddid mawr. Cawn hanes am dano yn 1 Chron. xxi, 1, yn sefyll i fyny yn erbyn Israel, ac yn annog Dafydd i'w cyfrif; ac yn Zech. iii, 1, 2, dywedir fod "Joshua yr archoffeiriad yn sefyll gerbron angel yr Arglwydd, a Satan yn sefyll ar ei ddeheulaw ef i'w wrthwynebu ef," pryd y gorchymynodd yr Arglwydd ei geryddu. Wedi hyny ceir hanes am Satan yn temtio Crist yn yr anialwch (Math. iv); ac yn Luc x, 10, dyweda Iesu Grist wrth y deg-a-thrugain. "Mi a welais Satan megys mellten, yn syrthio o'r nef." [Nid ffol o wyrth oedd hon.] Meddyliwn bellach, fod y crybwylliadau hyn yn unig, yn ddigonol i brofi fod Satan yn meddu digon o ryddid yn ein plith oddiar ddyddiau Adda, a'i fod beunydd yn "rhodio oddiamgylch megys llew rhuadwy;" ac nid ymddengys y caiff ei rwymo â'r "gadwyn fawr," hyd nes y bwrir ef i'r pydew diwaelod, ac y cauir arno am fil o flynyddoedd, ond wedi hyny caiff ddyfod allan am ychydig. (Gwel Dad. xx.) Yn awr, gan

fod Beelzebub (sef Satan), penaeth y cythreuliaid, yn cael y fath ryddid, nid yw yn un syndod fod ei angylion ef yn cael yr un peth. Desgrifir y rhai hyny hefyd yn "rhodio mewn lleoedd sychion, gan geisio gorphwysdra:" a phryd na chaffont, hwy a ddychwelant i'r tai o'r lle y daethant allan, ac a wahoddant ysbrydion ereill i mewn, gwaeth nâ hwy eu hunain (Luc xi, 24—26. Yr oedd lleng o honynt weithiau yn yr un dyn; ac os darllenwn yn Marc v, 7—13, a manau ereill, cawn allan y meddent wybodaeth oruwch-naturiol, gan y gwyddent mai Iesu oedd Mab y Duw goruchaf, yr hyn ni allai "dyn lloerig." fel y dywedir, byth ei wybod; ac er dangos pa le yr oedd eu cartref mwyaf neillduol, mawr-ymbilient â'r Iesu, "na yrai efe hwynt allan o'r wlad." Yn wir, y mae'r holl ysgrythyrau yn cyd-dystio fod y ddaear yn drigfan i ysbrydion aflan, a'u bod yn dylanwadu ar ddynion i wneuthur drygioni, ac yn meddiannu cyrff llaweroedd, er mwyn cael gorphwysdra, a chyflawni eu hewyllys.

Yn awr, wedi bod yn olrhain hanes y diafol a'i angylion, a dangos eu bod yn gwneuthur eu preswylfod ar y ddaear, cawn ddychwelyd at ystyried pwy ydynt *wneuthurwyr gwyrthiau*. Mae yn ddiddadl fod Duw yn gallu cyflawni gwyrthiau, a bod angylion a dynion da yn cyflawni rhai trwyddo ; ond y mae yn bwnc arall, pa un a all ysbrydion a dynion drwg gyflawni gwyrthiau trwy eu gallu eu hunain.

Gallwn ymresymu fel hyn. Os nad oedd yr angylion yn colli y galluoedd mawrion a gawsant gan Dduw yn y dechreu, yr hyn nid yw yn rhesymol i feddwl, mae yn ddiau y gallant ymarfer y galluoedd hyny unrhyw amser a ewyllysiont, os na fydd galluoedd mwy y Goruchaf yn eu hattal ; yr un fath ag y gall dynion, pa un a fyddont ai da ai drwg. Os felly, yna y mae gan angylion drwg gymmaint o alluoedd yn awr ag a fu ganddynt erioed, ond yn unig nad oes hawl ganddynt i gael cynnorthwy Duw, yr un fath â'r angylion ereill. Yna, y mae yn canlyn y gallant gyflawni gwyrthiau, i'r graddau y byddo Duw yn caniatâu iddynt; canys gwyrthiau i ni fyddai pob gweithredoedd o'u heiddo hwy, ag nad allem ni eu hamgyffred. Nid yw y rheswm a ddygir yn mlaen gan rai, nad yw yn deg i Dduw ganiatâu i ysbrydion drwg wneuthur gwyrthiau, rhag *twyllo* y bobl â gau-grefydd, yn ddim amgen nâ phe dywedid nad yw yn deg i Dduw ganiatâu i ddynion drwg bregethu, rhag iddynt arwain ereill ar gyfeiliorn. Mae dynion yn y cnawd yn cael cyflawni eu hamcanion, ac felly y credwn am yr ysbrydion hefyd; a chan fod dynion ac ysbrydion drwg o'r un tueddiadau i wneuthur drygioni, mae yn rhesymol ddigon iddynt gynnorthwyo eu gilydd, trwy yr hyn y mae yn alluadwy i ddynion drwg gyflawni gwyrthiau, trwy gynnorthwy gallu goruwch.

Bellach, ymdrechwn nodi enghreifftiau ac awgrymiadau yn y Beibl, yn dangos fod Satan a'i angylion, ar wahan ac mewn cyssylltiad â dynion, yn cyflawni gwyrthiau, neu arwyddion a

rhyfeddodau. Yn y lle cyntaf, gallwn nodi gwyrth nodedig gan Satan ei hun, trwy iddo achosi i'r sarff lefaru ei feddwl wrth ein mam Efa. Pa wyrth a allasai fod yn amlycach nâ hono. Nid oes lle i feddwl fod y sarff yn llefaru o honi ei hun, canys er ei holl gyfrwysdra ni allasai lefaru wrth Efa y pethau rhyfedd a lefarodd, oni bai fod yno allu goruwch yn ei llywodraethu. Ac yn awr, os caniataodd Duw i ddiafol gyflawni y wyrth hono, paham na all ganiatâu i wyrthiau ereill hefyd gael eu cyflawni ganddo ef, neu ei angylion, neu gan ddynion trwyddynt? Yn wir, ymddengys i ni fod yr ysgrythyrau yn egluro fod Duw yn caniatâu i ysbrydion a gau-brophwydi gyflawni gwyrthiau ac arwyddion er mwyn profi ei bobl, neu i ryw ddybenion cyffelyb ereill. Darllener a ganlyn:—"Pan godo yn dy fysg di brophwyd, neu freuddwydydd breuddwyd (a rhoddi i ti *arwydd* neu *ryfeddod*, a dyfod *i ben* yn arwydd neu y rhyfeddod a lefarodd efe wrthyt), gan ddywedyd, Awn ar ol duwiau dyeithr (y rhai nid adwaenost), a gwasanaethwn hwynt; na wrandaw ar eiriau y prophwyd hwnw, neu ar y breuddwydiwr breuddwyd hwnw; canys yr Arglwydd eich Duw sydd yn eich *profi* chwi, i wybod a ydych yn caru yr Arglwydd eich Duw â'ch holl galon, ac â'ch holl enaid," (Deut. xiii, 1—3). Gellid nodi ychwaneg o ysgrythyrau fel hyn, ond gwell myned rhagom i ddangos rhai o'r amrywiol wyrthiau a gyflawnwyd gan ddiafol. Gwelwn yn y ddwy bennod gyntaf o lyfr Job, fod Satan wedi cael Job yn ei law, trwy ganiatâd yr Arglwydd. Onid oedd yr hyn a ddygwyddodd i Job yn wyrthiau? Dywed y Parch. J. Davies, yn ei lyfryn, tud. 16," Ymddengys y cyfan i mi yn esboniadwy, heb wyrth, ac felly ni ddylid ei hystyried yn yr amgylchiadau. Diau fod pob un o'r gofidiau a gyfarfyddodd â Job, bob yn un ac un, wedi cyfarfod llawer wedi hyny; ond nid oes genym hanes iddynt oll gyd-gyfarfod i guro ar neb ond efe. Wrth edrych arnynt ar wahan, anhawdd genym gredu y golyga neb hwynt yn wyrthiau." Yna â yn mlaen i ddweyd fod pethau cyffelyb yn dygwydd yn gyffredin, megys lladdiad pobl, rhyferthwy disymmwth gwyntoedd nerthol, a difrodiadau mellt a tharanau; eithr ni sonia ddim am y cornwydydd. Yn awr, yr un peth a fuasai dadleu na wnaeth Elias wyrth wrth gau y nefoedd, o herwydd fod sychder yn dygwydd yn fynych; neu na wnaeth efe wyrth wrth dynu tân o'r nefoedd i ysu y poethoffrwm, o herwydd fod taranau a mellt yn arfer tanio pethau ereill. Etto, os nad gwyrth oedd hyn—"Felly Satan a aeth allan oddi gerbron yr Arglwydd, ac a *darawodd Job â chornwydydd blin*, o wadn ei droed hyd ei goryn,"—yna, nid gwyrth ychwaith oedd i Moses beri i gornwydydd fyned ar yr holl Aifftiaid (gwel Exod. ix, 11). Os gwadir un, gellir gwadu y llall hefyd. Ond er mwyn gorphen sylwi ar wyrthiau penaeth y cythreuliaid, er myned i sylwi ar eiddo cythreuliaid a dynion, cawn grybwyll am Satan yn temtio Crist. Os nad

oedd myned â'n Harglwydd i binacl y deml yn wyrth, yr oedd yn rhaid fod "dangos iddo holl deyrnasoedd y byd mewn mynyd awr" yn eithaf gwyrth, ac nid yw yn annhebyg nad oedd ar yr un pryd yn ymrithio ar lun angel y goleuni!

Cawn yn awr gyfeirio at wyrthiau a gyflawnwyd gan gythreuliaid a dynion. Os darllenwn yn Marc v, 2—13, cawn hanes am ddyn, nas "gallai neb, ïe, â chadwynau, ei rwymo ef; o herwydd ei rwymo ef yn fynych â llyffetheiriau, ac â chadwynau, a darnio o hono y cadwynau, a dryllio y llyffetheiriau; ac ni allai neb ei ddofi ef," oblegid y nerth a osododd y cythreuliaid ynddo. Wedi hyny, dacw yr ysbrydion aflan yn myned i mewn i'r genfaint foch, ac yn arwain dros ynghylch dwy fil o honynt dros y dibyn i foddi yn y môr. Os nad gwyrthiau oedd hyn, yna nid ydym ni etto wedi deall beth ydynt. Etto, darllenwn am wyrthiau Swynwyr yr Aifft, a'r Ddewines o Endor, am y rhai y cawn fanylu mewn traethodau dyfodol. Ac yn awr, onid yw Iesu Grist yn rhybyddio ei bobl rhag gwyrthiau o'r fath, pan y dywed, "Canys cyfyd gau-gristiau a gau-brophwydi, ac a roddant *arwyddion mawrion* a *rhyfeddodau*, hyd oni thwyllant, pe byddai bosibl, ïe, yr etholedigion," (Math. xxiv, 24). Gwelwn wrth hyn y bydd pawb, ond yr etholedigion, yn cael eu twyllo i gredu geiriau y gau-brophwydi, trwy y gwyrthiau mawrion a gyflawnant; a'r dadguddiad a fedd yr etholedigion yn unig fydd yn eu cadw. Meddylia llawer mai yn y gwyrthiau y twyllir, yn lle yn yr athrawiaeth. "Pa fodd," meddai rhywrai, megys y Mrd. Jones a Davies, yn ngeiriau yr ysgrythyr, "yr adnabyddwn y gair ni lefarodd yr Argwydd? [Ateb.] Yr hyn a lefaro y prophwyd hwnw yn enw yr Arglwydd, a'r gair heb fod, ac heb ddyfod i ben, hwnw yw y gair ni lefarodd yr Arglwydd; y prophwyd a'i llefarodd mewn rhyfyg, nac ofna ef" (Deut. xviii, 21, 22). Nid trwy eu harwyddion, ynte, yr adnabyddir hwynt, ond trwy eu geiriau, fel y gwelir hefyd yn Deut. xiii, 1—3; neu ynte, trwy y wybodaeth a dderbynir trwy yr Ysbryd Glân, fel y profasom yn y ddosran ddiweddaf. Cred y Parch. J. Davies. o herwydd y dywedir yn 2 Thes. ii, 9, am "bob nerth, ac arwyddion, a rhyfeddodau *gau*," mai pethau tebyg i arwyddion a gyflawnai y gau-brophwydi neu yr ysbrydion. Gwir mai *gau* yw pob peth a wnant mewn un ystyr o'r gair; ond a gred Mr. Davies mai *gau* dwyllo y maent, neu mai *gau* "nerth" sydd ganddynt? Gwell genym ni gredu, er bod yn gysson â'r ysgrythyrau, fod arwyddion a rhyfeddodau yn cael eu galw weithiau yn gau, oblegid eu gau-ddyben i dwyllo mewn crefydd. Ond i fyned rhagom: mae hanes arall yn Act. xvi, 16—19, am "ryw lances, yr hon oedd ganddi ysbryd dewiniaeth," a'r "hon oedd yn peri llawer o elw i'w meistriaid wrth ddywedyd dewiniaeth." Er dangos fod ganddi alluoedd gwyrthiol, dywedodd trwy yr ysbryd hwnw, "Y dynion hyn (sef Paul a'i frodyr) ydynt weision y Duw goruchaf, y rhai sydd yn mynegi i chwi ffordd

iachawdwriaeth." Wedi hyny, bwriwyd yr ysbryd allan, a chollodd y llances ei galluoedd, a'i meistriaid eu helw, yr hyn sydd yn cadarnhau y meddai alluoedd gwyrthiol. Ond pe na fyddai dim yn hyna, beth a wneir o'r hanes yn Dad. xiii, 13, am y bwystfil "yn gwneuthur rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear, yn ngolwg dynion," hyd nes y mae yn twyllo pawb? Ni fydd hyn yn rhywbeth yn y cornel, ond yn llwyr gyhoeddus, ac argyhoeddiadol.—Y peth olaf a sylwn arno o'r ysgrythyr, yw yr hyn a welir yn Dad. xvi, 13, 14, ynghylch y "tri ysbryd aflan," am y rhai y dywedir, "Canys ysbrydion cythreuliaid, yn *gwneuthur gwyrthiau*, ydynt, y rhai sydd yn myned allan at freninoedd y ddaear, a'r holl fyd, i'w casglu hwy i ryfel y dydd hwnw, dydd mawr Duw Hollalluog." Dealled y Parch. Mr. Davies, "nad oes neb yn meddwl bod gan gythraul ysbryd ar wahan oddiwrtho ei hun," ond dichon fod rhai yn meddwl fod eisieu gwahaniaethu weithiau rhwng ysbrydion *cythreuliaid* ac ysbrydion *dynion*. Diolchwn iddo ef am ei esboniad ar hyn yn ei lyfryn, tud. 12; ond dywedwn wrtho y gall ysbrydion fod yn "genadon" yn gystal â dynion. Yn awr, os nad *cythreuliaid yn gwneuthur gwyrthiau* a feddylir uchod, yna nid Crist a'i apostolion yn gwneuthur gwyrthiau, a feddylir mewn manau eraill; o leiaf, dyna fel yr ymresymwn ni.

Yn awr, wrth ddiweddu, cawn alw sylw at yr hyn a wyddom sydd yn wyrthiol mewn *Mesmeryddiaeth*. Oddeutu blwyddyn yn ol, cawsom ni ac un neu ddau arall, ein gwahodd i weled merch yn cael ei mesmeryddio; ac wedi i ni gael cymhelliad i ofyn cwestiynau iddi, atebodd i ni bethau nas gwyddai neb ond nyni ein hunain. Dywedodd wrthym ein bod wedi gyru nifer o lyfrau yn anrheg i Ddinas y Llyn Halen, a'u bod y pryd hyny mewn blwch yn y Council Bluffs; a bu mor garedig â myned yno yn ei chwsg, ymweithio i waelod y blwch, agor y sypyn, a darllen y geiriau oeddym ni ein hunain wedi ysgrifenu y tufewn i'r cloriau. Mae hyn yn wir, ac yr oedd y Parch. J. Jones, Llangollen, yn bresennol, yn clywed, ynghyd ag ereill a allem enwi. Ac yn awr, os nad oedd galluoedd gwyrthiol yn yr amgylchiad hwn, yna nis gwyddom ni ddim yn eu cylch. Mae llawer o ddynion ereill wedi cael profion cyffelyb, ac wedi eu cyhoeddi i'r byd; eithr nid ydym ni yn credu fod pob peth a ddadguddiant yn wirionedd, canys ni ellir dysgwyl hyny dan deyrnasiad "tad y celwydd."

Bellach, terfynwn y traethawd hwn, gan annog y darllenydd i fod yn awyddus erbyn y delo y traethodau dilynol, fel y gallo farnu drosto ei hun ynghylch y gwirionedd.

*Merthyr, Mai* 21, 1852.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 2.] [PRIS 1g.

# TRAETHODAU

AR

# WYRTHIAU,

YN CYNNWYS

ADOLYGIAD AR DDARLITHIAU Y PARCH. J. JONES, LLANGOLLEN, A LLYFRYN Y PARCH. J. DAVIES, LLANELLI, AR YR UN PWNC.

GAN JOHN DAVIS, MERTHYR.

## TRAETHAWD II.

### § I.—GWYRTHIAU CYHOEDDUS A DIRGELAIDD.

MAE yn ymddangos i ni, wrth olrhain hanes gwyrthiau yn yr ysgrythyrau, eu bod weithiau yn dygwydd yn gyhoeddus, a phrydiau ereill yn ddirgelaidd, er y dywedai Mr. Jones yn un o'i ddarlithiau, mai peth cyhoeddus oedd gwyrth, ac nad "oedd dim arferiad o'r gair gwyrth yn rywbeth yn y cornel." Yn wir, y mae Mr. Davies, yn nhud. 24 o'i lyfryn ar y "Doniau Gwyrthiol," yn meddwl yr un fath â ninnau. Dywed fel hyn —"Cawn yn nesaf daflu golwg ar gyhoeddusrwydd cyflawniad gwyrthiau Iesu a'i apostolion. Nid ydym yn meddwl gwadu na wnaeth Mab Duw lawer o wyrthiau yn mhlith ei ddyscyblion yn unig; i'r gwrthwyneb, y mae genym brofion diymwad iddo wneyd hyny amryw droion, megys myned i mewn â'r drysau yn gauad, a diflanu yn ddisymmwth o'u plith drachefn. Mae yn wir i Iesu wneyd gwyrthiau pan nad oedd neb ond ei ddyscyblion yn bresennol." Eithr y mae mor wir â hyny, fel y sylwa Mr. Davies, ac fel y cytunwn ninnau, fod llawer o'i wyrthiau Ef yn gyhoeddus, yn gystal ag yn ddirgelaidd. Ni fyddai ond gwaith anfuddiol i ni geisio nodi allan y gwyrthiau cyhoeddus a dirgelaidd a ddarllenasom am danynt yn yr ysgrythyrau; digon yw i ni ddywedyd fod y Saint yn credu i Grist a'i apostolion gyflawni gwyrthiau yn gyhoeddus, yn gystal ag yn ddirgelaidd. Gwnaeth Mr. Jones gamsynied erchyll trwy gyhoeddi yn ei ddarlith olaf, ein bod ni yn adeil-

adu ein cyfundrefn ar wyrthiau dirgelaidd, a'i fod yntau, trwy nodi allan wyrthiau cyhoeddus, yn cael tywod o dan ein hadeilad. Pe buasai efe ei hun mor onest â dyfod i'n gwrandaw ni yn adolygu ei ddarlithiau ef (megys ag y gwnaethom ni bob tro ag ef), yn lle danfon bechgynach "llawn llygaid a chlustiau" yn ei le, mae yn ddiammau y buasai yn deall ein meddwl. Nid oeddym ni, yn ein darlithiau, pan yn cyfeirio at wyrthiau dirgelaidd o eiddo Iesu Grist, neu ei apostolion, yn adeiladu ein cyfundrefn ar y gwyrthiau hyny, nac ychwaith ar un math arall; eithr ein dyben ni oedd dangos i Grist gyflawni amryw wyrthiau dirgelaidd, heblaw y rhai cyhoeddus. Crybwyllasom am wyrth ar ddyn mud a byddar yn Marc vii, 32—36, lle y dywedir i'r Iesu "ei gymmeryd ef o'r neilldu allan o'r dyrfa," er cyflawni y wyrth, a gwahardd dywedyd wrth neb. Hefyd, cyfeiriasom at wyrth ar ddyn dall drachefn, yn Marc viii, 23—26, lle y dywedir, "Ac wedi ymaflyd yn llaw y dall, efe a'i tywysodd ef allan o'r dref:" ac wedi cyflawni y wyrth, dywed Crist wrtho, "Na ddos i'r dref, ac na ddywed i neb yn y dref." Adroddasom hefyd am gyfodi merch Jairus, yn Marc v, 35—43, lle y dywedir i Grist "fwrw pawb allan," ac wedi ei chyfodi, "gorchymynodd iddynt na chai *neb* wybod hyn." (Yr oedd y wyrth hon yn ddirgelaidd yn ei chyflawniad, nad pa faint o sôn a fu am dani ar ol hyny.) Heblaw hyn, gallasem grybwyll am ddau ddyn dall yn cael eu golwg yn ddirgelaidd (gwel Math. ix, 27—30), a bod yr Iesu yn gorchymyn iddynt trwy fwgwth, "Gwelwch nas gwypo neb:" a rhwydd y gallasem nodi enghreifftiau ereill, ond i ba beth? Y mae un enghraifft, fel y sylwa Mr. Jones, yn gystal â chant, ac felly ni ychwanegwn. Gwelir mai nid adeiladu cyfundrefn ar wyrthiau dirgelaidd oeddym ni, pan yn nodi yr enghreifftiau blaenorol, eithr tynu i lawr gyfundrefn ag oedd wedi ei hadeiladu ar wyrthiau cyhoeddus. Mae y Saint yn adeiladu eu cyfundrefn ar "sail apostolion a phrophwydi," yr hon yw "craig" dadguddiad, fel y sylwasom ar *Ddyben Gwyrthiau*, tud. 5. Na feddylied neb, ynte, mai tywod sydd dan adeilad y Mormoniaid, canys y mae yno rywbeth mwy safadwy.

Mewn perthynas i gyhoeddusrwydd gwyrthiau Crist a'i apostolion, gallwn ddywedyd rhai pethau a fyddant yn teilyngu eu hystyried. Yn y lle cyntaf, y mae pawb yn gwybod

fod hanes gwyrthiau Crist a'r apostolion wedi ei ysgrifenu gan bersonau pleidiol; a chan hyny, nis gwyddom yn iawn, pa un a fuasai y gwyrthiau hyny mor gyhoeddus pe buasent yn cael eu cyflawni yn Nghymru yn y dyddiau hyn, pan y mae cymmaint o barchedigion llygadgraff yn gallu gweled pob twyll o hirbell. Mae pob peth sydd yn y Beibl yn cael ei gymmeryd yn ganiataol, fel pethau sydd yn rhaid eu bod yn wir, o herwydd eu bod wedi eu hysgrifenu mewn oes a gwlad arall: eithr pe honai rhywun fod gwyrthiau wedi eu cyflawni yn Nghymru, yn yr oes hon, a bod hyny wedi ei ysgrifenu, ni chredai neb yr hanes, o herwydd nad oeddynt hwy eu hunain wedi eu gweled. Mae hyn yn arferiad yn mhob oes. Rhwydd iawn yw cael gan bobl gredu yr hyn oedd yn wirionedd gynt, ond ni fynant gredu yr hyn sydd yn wirionedd yn bresennol. Mor ddiammheuaeth yw pawb yn yr oes hon ynghylch gwyrthiau Crist, heb gael un prawf o'u gwirionedd, ond tystiolaeth dynion ag ydynt wedi marw er ys canrifoedd. Nid ydym ni yn ammau eu gwirionedd, mwy nâ rhyw bobl ereill, eithr nis gallwn weled rheswm mewn credu yr hyn a ysgrifenid gynt am wyrthiau, ag anghredu yr hyn a ysgrifenir yn awr, yn enwedig pan y mae'r tystion presennol yn fyw, a'r lleill wedi marw.

Etto, gallwn daflu golwg arall ar wyrthiau Crist, fod ymddygiad yr Iuddewon wrth ei groeshoelio yn arwyddo nad oedd ei wyrthiau ef yn ddigon cyhoeddus ganddynt hwy, neu os oeddynt, na phrofasant iddynt hwy mai efe oedd Mab Duw; canys dywedent wrtho y pryd hyny, ar ol yr holl wyrthiau i gyd, "Os ti yw Mab Duw, disgyn oddiar y groes." (Darllener Math. xxvii, 39—44.) Ymddengys mai dyna farn ei bobl ei hun am dano ef a'i wyrthiau, ar ol y cyfan. "Efe a waredodd ereill," meddent, "ei hunan nis gall efe ei waredu;" ac o herwydd hyny, condemnient ef fel twyllwr. Ac mewn cyssylltiad â hyn, gallwn sylwi ar eiriau Pedr wrth y bobl yma fu yn croeshoelio Crist, sef—"Ha wyr Israel, clywch y geiriau hyn: Iesu o Nazareth, gwr profedig gan Dduw yn eich canol chwi, trwy nerthoedd a rhyfeddodau, ac arwyddion, y rhai a wnaeth Duw trwyddo ef yn eich canol chwi, megys ag y gwyddoch chwithau" (Act. ii, 22). Yn awr, os gwyddai y dynion hyn am arwyddion neu wyrthiau Crist, nid oeddynt er hyny yn

ddigon i brofi iddynt hwy ddwyfoldeb Crist, canys ni chredasant hyd nes yr argyhoeddwyd hwynt gan *bregeth* Pedr.

Wedi bod yn taflu ychydig o ammheuaeth fel·yna i feddwl y darllenydd, er mwyn ei wneyd yn llai rhagfarnllyd, cawn ddangos yr achos fod cymmaint o wyrthiau Crist mor gyhoeddus ag yr oeddynt, yn ol y desgrifiad a gawn gan ei ganlynwyr. Yr ydym yn darllen, yn Marc vi, 56, fel hyn—"Ac i ba le bynag yr elai efe i mewn, i bentrefi, neu ddinasoedd, neu wlad, hwy a osodent y cleifion yn yr heolydd, ac a atolygent iddo gael o honynt gyffwrdd cymmaint ag âg ymyl ei wisg ef: a chynnifer ag a gyffyrddent ag ef, a iachawyd." Yn awr, gwelir wrth hyn fod ffydd fawr gan laweroedd o'r bobl, a chan fod ffydd ganddynt, yr oedd yn dygwydd yn naturiol fod y gwyrthiau yn lliosog; a chan fod y bobl yn ymarfer eu ffydd yn yr heolydd, yno yr oeddynt yn cael eu hiachâu. Nid oes lle i feddwl fod Crist yn ymdrechu eu gwneuthur yn gyhoeddus; na, yr ydym eisoes wedi profi ei fod yn aml yn ceiso eu celu. Ac er fod llawer yn gofyn arwyddion ganddo, nid oes hanes iddo erioed eu boddloni. Dywed Mr. Davies, yn nhud. 27 o'i lyfryn, "Rhoddai Iesu orchymyn i bersonau y gwnaed gwyrthiau arnynt, i gyhoeddi hyny i ereill." Mae yn wir i Grist ddweyd unwaith wrth ddyn cythreulig, "Dos i'th *dŷ* at yr eiddot, a mynega iddynt pa faint a wnaeth yr Arglwydd erot, ac iddo drugarhau wrthyt" (Marc v, 20), er mwyn iddo beidio ei ddilyn: eithr yn gyffredin, arferai Crist rybyddio y bobl i gadw pob peth yn ddystaw, nid efallai rhag cael ei gredu, eithr rhag cael ei ladd. Dygwyddai rywfodd fod y gwyrthiau yn ei wneyd o hyd yn fwy peryglus twyllwr yn ngolwg llawer, hyd ddydd ei groeshoeliad. Etto, dywedir yn Math. xiii, 58, "Ac ni wnaeth efe nemawr o weithredoedd nerthol yno, oblegid eu hanghrediniaeth hwynt." (Gwel hefyd Marc vi, 5, 6.) Mae hyn etto yn profi fod ffydd yn anghenrheidiol er cyflawni gwyrthiau; ac hyd nes y dangoso dynion gymmaint o ffydd yn yr oes hon, ag a ddangoswyd tuag at Grist a'r apostolion, ni chânt weled gwyrthiau mor nerthol ag a gyflawnwyd yr amser hyny.

Wedi dywedyd cymmaint â hyna ar y pwnc hwn, gwelwn fod yn rhaid i ni adael allan lawer o'n sylwadau, oblegid fod ein terfynau mor fychain: a gobeithiwn y gwnawn y diffyg i

fyny mewn cyssylltiad â phynciau mwy eu pwys. Nid yw o fawr wahaniaeth pa mor gyhoeddus oedd y gwyrthiau gynt, na pha mor ddirgelaidd, canys y mae hyny oll yn ymddibynu ar amgylchiadau: y pwnc sydd eisieu ei benderfynu fwyaf, yw *parhad* gwyrthiau.

---

## § II.—PARHAD GWYRTHIAU.

WRTH brofi parhad gwyrthiau, nid oes achos i ni ymyraeth â pharhad gwyrthiau ysbrydion drwg a gau-brophwydi; canys os profwn barhad gwyrthiau trwy law Duw, bydd hyny yn ddigon. Ni fydd neb mor afresymol â dysgwyl y gallwn gael hanes gwyrthiau yr oes hon yn y Testament Newydd; ac o ganlyniad, bydd raid i ni gyfeirio at ysgrifeniadau yr eglwys yn yr oes hon, a'u hystyried yn gystal safon i brofi gwyrthiau y dyddiau hyn, ag yw y Testament Newydd i brofi y gwyrthiau gynt. Ond etto, dichon fod prophwydoliaethau yn y Testament Newydd ag sydd yn profi y cyflawnir gwyrthiau wedi yr amser hyny yr haerir eu bod wedi darfod. Yn y lle cyntaf, dywedir gan Iesu Grist, yn Marc xvi, 17, "A'r *arwyddion* hyn a ganlynant y rhai a gredant." Os mai yr un peth yw arwydd a gwyrth, fel y dysgai Mr. Jones, yna y mae Crist wedi prophwydo y buasai gwyrthiau yn canlyn "y rhai a gredant" yr efengyl; ac os yw dynion yn credu yr efengyl yn awr, yna fe ddylai y gwyrthiau eu canlyn. Ond rhagor ar hyn mewn Traethodau dyfodol. Yn nesaf, crybwyllwn am y geiriau sydd yn 1 Cor. xii, 28, "A rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys; yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, yna *gwyrthiau;* wedi hyny doniau i iachâu, cynnorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau." Yn awr, pa le y ceir hanes i Dduw dynu yr aelodau uchod o'r eglwys? Os darfu i'r eglwys eu colli oll ond "athrawon," yr oedd yn rhaid ei bod wedi colli ei hunan hefyd, canys y gwahanol aelodau hyn oedd yn ei chyfansoddi, ac nis gallai fod yn gorff i Grist hebddynt, fel yr ydym wedi profi yn ein traethawd ar "Gorff Crist, neu yr Eglwys." Etto, cyfeiriwn y darllenydd at y gwyrthiau a gyflawnir gan y ddau dyst. Darllener yn Dad. xi, 3—12, cyn myned yn mhellach, a cheir gweled yno brophwydoliaeth am wyrthiau mor hynod â dim gwyrthiau a fu

erioed. Mae hyn i gymmeryd lle yn y ddinas y croeshoeliwyd ein Harglwydd ynddi, sef Jerusalem; a chan nad yw hyn wedi cymmeryd lle, mae yn rhaid fod gwyrthiau heb ddarfod. Yn awr, nid yw hyn ond un enghraifft, allan o lawer a ellid enwi o fewn dau glawr y Beibl. Darllener Esay xi, 15, 16; xxxv, 5—8; Zech. x, 11; Jer. xxiii, 4—8; ynghyd â'r holl grybwylliadau lliosog a geir am gyflawniad gwyrthiau yn y dyddiau diweddaf.

Bellach, cawn gyfeirio sylw y darllenydd at y 5med rhifyn o'r "Divine Authenticity of the Book of Mormon," gan Orson Pratt. i gael crynodeb o hanesion am rai gwyrthiau a gyflawnwyd yn y dyddiau hyn. Ceir gweled yno fod deillion yn cael eu golwg, y byddar a'r mud yn cael eu hadferu, y gwahanglwyfus yn cael ei iachau, esgyrn yn cael eu cylymu, y cholera yn cael ei geryddu, &c. Mae llawer o hanesion cyffelyb yn "Mhrophwyd y Jubili" ac "Udgorn Seion," lle y mae amryw o ddynion byw yn cyd-dystiolaethu am eu gwirionedd. Yn awr, os yw ein cyd-wladwyr yn gallu credu yr holl wyrthiau a nodir yn yr Actau, ar dystiolaeth Luc ei hunan, yna paham na allant gredu gwyrthiau yn y dyddiau hyn, ar dystiolaeth llaweroedd o dystion byw. Ond, meddai y Parch. J. Davies, yn nhud. 31, "Hyd nes eu *dangosir*, byddwn dan rwymau i wadu eu bodoliaeth bresennol." Pa fodd yn y byd y mae Mr. Davies yn credu y gwyrthiau cyntefig heb eu gweled, ac yn gwadu y gwyrthiau presennol, oblegid nad ydynt wedi eu dangos iddo? A ydyw gwyrth yn rywbeth a ellir ei chario oddeutu y wlad i'w dangos? neu ynte, ai meddwl y mae'r parchedig hwn, y dylai y rhai sydd yn ceisio arwydd, gael eu boddloni â gwyrth! O ran ein hunain, nid oes genym ni fawr o olwg ar y dynion sydd yn dweyd y credant y Saint, os cânt weled eu gwyrthiau: os nad yw athrawiaethau y Saint yn gywir yn eu golwg yn awr, pa fodd y gall gweled gwyrthiau eu cyfnewid? Maent yn profi nad yw y gwyrthiau cyntefig yn ddigonol i brofi eu crefydd hwy; canys addawant, os dangosir gwyrthiau iddynt yn awr, y gwadant eu crefydd flaenorol, ac yr ymunant â'r Saint. Mae y Mrd. Jones a Davies wedi addaw hyny; ac ar ol eu holl ddarlithio ac ysgrifenu, pe dangosem wyrth neu ddwy iddynt, mae yn ddiau y cyfrifent eu holl ddysgeidiaeth yn *nonsense* o'r mwyaf! A ydyw Cristionogaeth

y parchedigion hyn, yr hon a brofwyd mor nerthol yn yr amser gynt, fel nad oes eisieu ei phrofi byth mwy (meddent hwy), yn cael ei gwadu ar unwaith, trwy gael gweled gwyrth neu ddwy gan Saint y Dyddiau Diweddaf, y rhai a ystyrir yn waeth cyfeiliornwyr nâ neb yn y wlad? Felly y dywedant, beth bynag, ac yr ydym ni yn hanner eu credu.

Yn awr, wrth derfynu y ddosran hon, dywedwn y byddwn yn sylwi yn helaethach ar *barhad gwyrthiau*, yn y traethodau dilynol, yn neillduol pan yn sylwi ar yr "adnodau pendant" dros ddarfyddiad gwyrthiau; a chyda llaw yr ydym yn tystiolaethu i ni weled gallu Duw yn y dyddiau hyn â'n llygaid ein hunain, ac yr ydym yn gwybod fod gwyrthiau i *barhau*, ac y mae miloedd o Saint Cymreig bellach yn gwybod yr un peth.

---

## § III.—APOSTOLION.

### I. GALWAD YR APOSTOLION.

Yr oedd Mr. Jones, Llangollen, yn dweyd mai galwad *wyrthiol* a gafodd yr Apostolion (gan gyfeirio at Math. iv, 18—22; ix, 9, a manau ereill), a'u bod hwy yn teimlo eu hunain yn rhwym o ufyddhau, fel pe buasai rhyw reddf yn eu cymhell. Ond nid felly y bu; canys fe gafodd yr apostolion eu galw yn yr un modd ag y gelwir dynion yn bresennol, sef trwy gredu, edifarhau, cymmeryd eu bedyddio, ac wedi hyny eu hethol a'u hordeinio yn apostolion, yr hyn a brofwn yn y modd canlynol.

Gwaith Ioan Fedyddiwr oedd parotoi pobl barod i Iesu Grist; ac ymddengys mai allan o'r bobl a barotôdd Ioan, y dewisodd Crist ei apostolion. Er profi hyn cawn ddyfynu a ganlyn :—"Tranoeth drachefn y safodd Ioan, a *dau o'i ddyscyblion*: a chan edrych ar yr Iesu yn rhodio, efe a ddywedodd, Wele Oen Duw. A'r ddau ddyscybl a'i clywsant ef yn llefaru, ac a *ganlynasant* yr Iesu. Yna yr Iesu a droes; a phan welodd hwynt yn canlyn, efe a ddywedodd wrthynt, Beth yr ydych chwi yn ei geisio? A hwy a ddywedasant wrtho ef, Rabbi (yr hyn o'i gyfieithu yw, Athraw), pa le yr wyt ti yn trigo? Efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch a gwelwch. A hwy a ddaethant, ac a welsant lle yr oedd efe yn trigo, ac a arosasant

gydag ef y diwrnod hwnw: ac yr oedd hi ynghylch y ddegfed awr. Andreas, brawd Simon Pedr, oedd un o'r ddau a glywsent hyny gan Ioan, ac a'i dilynasant ef. Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun Simon, ac a ddywedodd wrtho, Nyni a gawsom y Messia, yr hyn o'i ddehongli yw, Y Crist. Ac efe a'i dyg ef at yr Iesu. A'r Iesu, wedi edrych arno ef, a ddywedodd, Ti yw Simon mab Jona; ti a elwir Cephas, yr hwn a gyfieithir, Careg," (Gwel Ioan i, 35—42. Darllener hefyd y gweddill o'r bennod, lle y rhoddir hanes am Philip a Nathanael). Yn y dyfyniad hwn, yr ydym yn cael allan fod rhai o'r personau, ag a alwyd wedi hyny yn apostolion, ar y cyntaf yn ddyscyblion i Ioan, ac wrth gwrs wedi eu bedyddio ganddo; a thrwy gredu tystiolaeth Ioan, y darfu iddynt ganlyn Oen Duw. Ymddengys i ni mai Philip oedd y person ag oedd gyda Andreas pan welsont Grist gyntaf, wrth yr hwn y dywedodd Crist boreu dranoeth, pan yn cychwyn i Galilea, "Canlyn fi." Mae llawer wedi cael eu cam-arwain yn fawr gan y geiriau bychain, "Canlyn fi," trwy feddwl mai ar y pryd y llefarid hwynt yr argyhoeddid dyscyblion Crist. Rhywbeth tebyg i hyny a ddyrysodd Mr. Jones wrth sylwi ar Math. iv, 18—22. Ond pe darllenai yr hanes a rydd Luc (v, 1—11), efe a gawsai ar ddeall fod Crist yn adnabyddus â Simon a'r dyscyblion ereill yn flaenorol, a'u bod yn credu ynddo; etto, mae yn wir, mai wedi iddynt hwy ddyfod â'r llongau i dir, y gadawsant bob peth, ac y canlynasant ef.

Mae yn debyg fod llawer o ddyscyblion, ïe, yr oedd "tyrfa" o honynt, yn canlyn yr Iesu, ond nid oedd neb o honynt etto yn apostolion. Mae gan Dduw drefn i alw apostolion, ynghyd â phob swyddog arall; ac nid galw yn wyrthiol y mae, heb ddim ond dweyd, "Canlyn fi." Profwn hyn oddiwrth Luc vi, 13,—"A phan aeth hi yn ddydd, efe a alwodd ato ei ddyscyblion; ac o honynt efe a *etholodd ddeuddeg*, y rhai hefyd a enwodd efe yn APOSTOLION." Mewn man arall dywedir, "Ac efe a esgynodd i'r mynydd, ac a alwodd ato y rhai a *fynodd* efe; a hwy a ddaethant ato. Ac efe a *ordeiniodd ddeuddeg*, fel y byddent gydag ef, ac fel y danfonai efe hwynt i bregethu" (Marc iii, 13, 14). Yn awr, gwelir yn eglur nad oedd yma ddim yn wyrthiol; cafodd yr apostolion eu hethol allan o'r "dyrfa o'i ddyscyblion," ac wedi hyny eu hordeinio yn rheolaidd; ac yr oeddynt yn canlyn Crist yn hir, cyn iddo eu hordeinio yn apostolion.

Mewn perthynas i Saul o Darsus, addefwn fod achos ei droedigaeth ef yn wyrthiol; eithr nid mewn modd gwyrthiol y galwyd ef yn apostol, fel yr ymdrechwn brofi. Wedi i Saul gael eu daraw ar y ffordd i Damascus, nes iddo gredu yn Iesu Grist, dywedwyd wrtho, "Cyfod, a dos i'r ddinas, ac fe a ddywedir i ti pa beth sydd *raid* i ti ei wneuthur." (Gwel Act. ix.) Wedi hyny y mae Ananïas yn dodi ei ddwylaw arno, ac yn dywedyd. "Y brawd Saul, yr Arglwydd a'm hanfonodd i (Iesu yr hwn a ymddangosodd i ti ar y ffordd y daethost), fel y gwel-

ych drachefn, ac y'th lanwer â'r *Ysbryd Glân.*" Ac yn ebrwydd "efe a gyfododd ac a *fedyddiwyd.*" "A bu Saul gyda'r dyscyblion oedd yn Damascus dalm o ddyddiau; ac yn ebrwydd yn y synagogau efe a *bregethodd* Grist, mai efe yw Mab Duw." Etto, er y cyfan, nid oedd efe hyd yma yn apostol, serch y gallai fod yn feddiannol ar ryw swydd arall i bregethu. Wel, yr hanes nesaf a gawn am Saul sydd yn Act. xi, 25—30, lle y dywedir, "Yna yr aeth Barnabas i Tarsus, i geisio Saul. Ac wedi iddo ei gael, efe a'i dug i Antiochia," lle y buont "flwyddyn gyfan yn ymgynnull yn yr eglwys, a dysgu pobl lawer." Yna y dyscyblion yno a ddanfonasant Barnabas a Saul â chymhorth i'r brodyr yn Judea; ac yn mhen. xii, 25, dywedir, "Barnabas a Saul, wedi cyflawni eu gweinidogaeth, a ddychwelasant o Jerusalem, gan gymmeryd gyda hwynt Ioan hefyd, yr hwn a gyfnewid Marc." Wrth gwrs, hwy a ddychwelasant i Antiochia, at yr eglwys y buont ynddi yn flaenorol, fel y gwelir yn mhen. xiii, 1. Wel, yn y ddwy adnod nesaf, darllenwn fel hyn:—"Ac fel yr oeddynt hwy yn gwasanaethu yr Arglwydd, ac yn ymprydio, dywedodd yr Ysbryd Glân, *Neillduwch i mi Barnabas* a *Saul*, i'r gwaith y gelwais hwynt iddo. Yna wedi iddynt ymprydio, a gweddio, a *dodi eu dwylaw arnynt*, hwy a'u gollyngasant ymaith." Yn awr, os cafodd Barnabas a Saul eu hordeinio erioed yn apostolion, mae yn rhaid mai y pryd hyn y cawsant. Yn yr un dull hefyd yr ordeiniwyd Mathias; a diau mai mewn modd cyffelyb yr ordeiniwyd yr "apostolion diweddaf," a phob swyddog arall yn yr eglwys. Y peth nesaf yw sylwi ar

II. SWYDD YR APOSTOLION.

Ystyr y gair *Apostol*, medd dysgedigion yw, "un a ddanfonwyd gan arall." Caiff fod felly o'n rhan ni, canys yr oedd yr apostolion wedi eu danfon gan arall (sef Crist), a'r arall hwnw wedi cael ei ddanfon gan Dduw, trwy hyn yr oedd yntau hefyd yn apostol. Ond y pwnc yw, pa beth yw swydd apostolion? Dywedai Mr. Jones mai un anhebgor apostol oedd ysgrifenu y Testament. Os oedd hyny yn anhebgor apostol, beth a wneir o'r holl apostolion nad ydynt wedi ysgrifenu cymmaint â llinell o hono. Nid gwiw oedd i Mr. Jones ddweyd mai nid Marc a Luc a ysgrifenodd eu hefengylau hwy, eithr mai rhyw rai o'r apostolion ; canys ni wna hyny y peth nemawr gwell, tra yr oedd cymmaint o apostolion heblaw hyny heb ysgrifenu dim.

Y ffordd oreu i wybod pa beth oedd swydd yr apostolion yw trwy chwilio yr ysgrythyrau. Ymddengys oddiwrth y ddau gommisiwn eu bod i bregethu a bedyddio, ac oddiwrth Act. viii, 14—18, a xix, 6, eu bod i osod dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glan; a dengys manau ereill eu bod i osod dwylaw er ordeinio i swyddi ac iachâu y cleifion. Mae yn wir y gallai henuriaid weinyddu yn yr holl bethau a enwasom, ond nis gallent er hyny lanw lle yr apostolion; canys y mae yn

amlwg mai yr apostolion oedd yn llywodraethu yr holl eglwysi, trwy apwyntio personau i weinyddu o danynt, er "perffeithio y saint," er "gwaith y weinidogaeth," ac er "adeilad corff Crist." Mae yn wir fod rhai o'r apostolion yn ysgrifenu llythyron, eithr y mae mor wir â hyny fod swyddogion ereill yn gwneuthur yr un modd, megys Marc a Luc, ynghyd ag ereill a allem enwi: ond pe buasai yn waith neillduol i apostolion ysgrifenu Beibl, ni fuasai cynnifer o honynt yn esgeuluso eu dyledswydd, a pheidio ysgrifenu dim.

### IV. NIFER YR APOSTOLION.

Haerai Mr. Jones yn un o'i ddarlithiau mai dim ond deuddeg apostol oedd, a bod Paul yn un o'r deuddeg, ac nad oedd Mathïas ond apostol o waith dynion! Rhyfedd mor wybodus yw y dyn hwn, a rhyfedd fel y mae yn baeddu yr holl esbonwyr ereill.

Er dyfod o hyd i nifer yr apostolion, bydd i ni ddyfal chwilio yr ysgrythyrau. Yn y lle cyntaf fe ordeiniwyd *deuddeg* o honynt, ond wedi hyny collwyd Judas, trwy iddo fradychu ei Feistr. Yna, yn Act. i, 15—26, yr ydym yn darllen i Pedr gyfodi i fyny yn nghanol y dyscyblion yn Jerusalem, lle yr oedd ugain a chant ynghyd, i hysbysu fod eisieu cael rhywun i lanw lle Judas, am yr hwn yr ysgrifenwyd, "Bydded ei drigfan ef yn y diffaethwch, ac na bydded a drigo ynddi; a chymmered *arall* ei *esgobaeth* ef. Am hyny, mae yn *rhaid*, medd efe, "o'r gwyr a fu yn cydymdaith â ni," "fod un o'r rhai hyn gyda ni yn dyst o'i adgyfodiad Ef." A hwy a osodasant ddau gerbron; "a chan weddio, hwy a ddywedasant, Tydi, Arglwydd, yr hwn a wyddost galonau pawb, dangos pa un o'r ddau hyn a etholaist, i dderbyn *rhan* o'r weinidogaeth hon, a'r *apostoliaeth*, o'r hon y cyfeiliornodd Judas, i fyned i'w le ei hun. A hwy a fwriasant eu coel-brenau hwynt; ac ar Mathïas y syrthiodd y coelbren; ac efe a gyfrifwyd gyda'r un apostol ar ddeg." Yn awr, ai tybied mai chwarae plant bach oedd y dyscyblion uchod, wrth ddewis apostol; os felly, ni ddylent ysgrifenu hyny yn y llyfr a elwir "yr hyn sydd berffaith." Ai tybied fod Pedr a'i frodyr mor hurt nâ wyddent pa beth yr oeddynt yn wneuthur? Os credwn Mr. Jones, chwarae plant oedd y cyfan, a chael ei "*gyfrif*" (ystyried), ac nid cael ei *wneuthur*, yn un o'r apostolion a gafodd Mathïas, wedi y cyfan! Diolch am y fath oleuni.

Yn awr, dyna y diffyg o Judas wedi ei wneyd i fyny trwy ddewis Mathïas. Wedi hyny, ceir hanes yn Act. xiii, 2, am Barnabas a Saul yn cael ei neillduo yr un pryd, yn yr eglwys yn Antiochia. Os mai yn lle Judas yr ordeiniwyd Paul, yn lle pwy, wyddis, yr ordeiniwyd Barnabas? Ond pe buasai Paul yn gwneyd i fyny y deuddeg, yna beth a wneir o Barnabas? Dyna dri ar ddeg o honynt wedy'n, a chaniatâu hyny. Eithr y

gwirionedd yw, yr oedd Paul, a Barnabas hefyd, fe ddichon, yn perthyn i'r "apostolion diweddaf," fel y dengys Paul ei hun pan y dywed, "Canys tybied yr wyf ddarfod i Dduw ein dangos NI, yr *apostolion* DIWEDDAF, fel rhai wedi eu bwrw i angau" (1 Cor. iv, 9). Fe welir wrth hyn fod apostolion *cyntaf* i'w cael hefyd, onide ffolineb fyddai son am y rhai diweddaf. Ymddengys hefyd fod Andronicus a Junia yn apostolion, fel y gwelir yn Rhuf. xvi, 7. Y mae hyn yn unig yn ddigon i ddangos ffolineb Mr. Jones, pe na allem nodi neb yn ychwaneg. Ond er mwyn anghredinwyr, cawn ddyfynu a ganlyn: "A'i weled ef gan Cephas, yna gan y *deuddeg*. Wedi hyny y gwelwyd ef gan fwy na phum cant brodyr ar unwaith: o'r rhai y mae y rhan fwyaf yn aros hyd yr awrhon; eithr rhai a hunasant. Wedi hyny y gwelwyd ef gan Iago; yna gan yr HOLL *apostolion*. Ac yn ddiweddaf oll y gwelwyd ef genyf *finnau* hefyd, megys gan un annhymig" (1 Cor. xv, 5—8). Yn awr, os nad oes yma lawer mwy nâ deuddeg, y mae Mr. Jones ar yr iawn.

Dichon y gofyna rhywun pa bryd yr ordeiniwyd yr holl apostolion ereill, os oedd mwy nâ deuddeg? Atebwn, yn ngeiriau Luc, pen. x, 1, "Wedi y pethau hyn yr *ordeiniodd* yr Arglwydd ddeg a thrugain *ereill* hefyd, ac a'u danfonodd hwynt bob yn ddau o flaen ei wyneb i bob dinas a man lle yr oedd efe ar fedr dyfod." Yn awr, yr ydys yn son am *apostolion* ychydig cyn hyny (gwel Luc ix, 10); ac o ganlyniad, mae yn rhaid mai deg a thrugain o *apostolion* "ereill" a feddylir. Yr oeddynt hwy yn meddu cyffelyb awdurdod â'r deuddeg; ac y mae yn ddiamman mai apostolion oeddynt, onide buasai eu swydd yn debyg o gael ei henwi. Yn wir, yr oedd Iesu Grist hefyd yn apostol, fel y gwelir yn Heb. iii, 1; ac ymddengys fod apostolion mor aml, nes y rhoddir cynghor yn Dad. ii, 2, i "brofi y rhai sydd yn dywedyd eu bod yn apostolion, ac nid ydynt."

### IV. PEDR YN BEN AR YR APOSTOLION.

Nid oes dim yn amlycach wrth olrhain yr ysgrythyrau, nâ bod Pedr (sef Cephas) yn ben ar yr holl apostolion, a bod Iago ac Ioan yn nesaf ato mewn awdurdod, ac y gelwid y tri yn "golofnau" yr eglwys. Y tri hyn a gymmerodd Crist i weled ei weddnewidiad; a phan yr enwir y deuddeg, y tri yma fynychaf yw y blaenoriaid (gwel Marc iii, 16, 17, a manau ereill). Ond gyda golwg ar Pedr, y mae efe yn flaenaf yn mhob peth, ac yn ymddangos fel pe byddai yn llywydd ac yn fugail ar y lleill. Efe oedd y cyntaf i ateb gofyniad Crist, "Ond pwy meddwch chwi ydwyf fi?" ac iddo ef y rhoddodd Crist "agoriadau y deyrnas" (gwel Math. xvi, 15—19). Efe hefyd oedd yn ymddyddan â Christ ar y mynydd; ac wrtho ef hefyd y dywedodd Crist, wedi gweddio drosto na ddiffygiai ei ffydd, "Tithau, pan y'th droer, cadarnha dy frodyr" (Luc xxii, 31, 32). Pedr hefyd oedd

y cyntaf i weled Crist wedi adgyfodi (1 Cor. xv, 5); ac wrth Pedr y dywedodd efe dair gwaith, "*Bugeilia fy nefaid.*" (Gwel Ioan xxi, 15, &c.) Pedr oedd y cyntaf drachefn i godi i fyny yn nghanol y dyscyblion, i ddweyd fod eisieu ordeinio apostol yn lle Judas (Act. i, 15—26); a Phedr wedi hyny oedd yn sefyll i bregethu ar ddydd y Pentecost; a phan ofynodd y bobl, Ha wyr, frodyr, beth a wnawn ni?" nid oedd neb yn ateb ond y llywydd Pedr. Gallem nodi ychwaneg o adnodau o'r natur hyn, y rhai ydynt yn dangos yn eglur fod Pedr yn llywydd ar yr apostolion a phawb, ac yn dal agoriadau y deyrnas, yn union yr un fath ag y mae Brigham Young yn bresennol.

Yn awr, os dywedodd Mr. J. Jones fod Paul yn uwch nâ'r apostolion ereill, mae Paul ei hun yn dweyd fel arall. "Myfi," medd Paul, "yw y LLEIAF o'r apostolion," yr hyn sydd etto yn profi graddau yn yr apostoliaeth. Gallai fod Paul wedi *llafurio* yn helaethach nâ hwynt oll, megys y gallai diacon lafurio mwy, yn un o gapeli y wlad, nag hyd y nod y gweinidog.

### V. PA FODD YR OEDD YR APOSTOLION YN DYSTION O GRIST.

Nid oedd yn bosibl i'r apostolion fod yn dystion i Grist, trwy ei weled yn adgyfodi, o herwydd nis gwelsant ef: gwnelai y milwyr well tystion o lawer yn yr ystyr hyny, canys yr oeddynt hwy yn gwylio y bedd, ac yn ei weled yn adgyfodi, yr hyn ni welodd neb arall. Mae yn rhaid, ynte, mai rhywbeth arall oedd yn anghenrheidiol er bod yn dystion i Grist: yr oedd gweled Crist cyn a chwedi adgyfodi yn dra manteisiol er bod yn dystion; etto nid hyny oedd y prif beth. Beth oedd y prif beth, ynte? Wel, caiff Iesu Grist ateb,—"Eithr chwi a dderbyniwch *nerth yr Ysbryd Glân* wedi y delo efe arnoch; ac a fyddwch DYSTION i mi yn Jerusalem, ac yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear." Yr oedd yn rhaid cael yr Ysbryd Glân i gyd-dystiolaethu ynddynt hwy, cyn y buasent yn dystion cymhwys i Iesu Grist, er myned allan i bregethu yr efengyl. Felly, wedi derbyn Ysbryd y dadguddiad, gallent fod yn sicr, nid yn unig fod Crist wedi adgyfodi, eithr ei fod hefyd yn Fab Duw, pe dygwyddai na buasent wedi ei weled cyn a chwedi adgyfodi. Gan hyny, y mae pawb sydd yn derbyn tystiolaeth yr Ysbryd, yn dystion i Grist, ac yn addas i fyned allan i bregethu yr efengyl, yn gymmaint ag y byddant wedi eu galw megys Aaron.

Yn awr, gorfodir ni, o ddiffyg lle, i derfynu y traethawd hwn, a dymuno rhwydd hynt i'r darllenydd hyd nes y gwelo y nesaf; a chyda llaw, hysbyswn y caiff y Traethawd I. ei ail-argraffu.

*Merthyr, Meh.* 3, 1852.

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# TRAETHODAU

AR

# WYRTHIAU,

YN CYNNWYS

ADOLYGIAD AR DDARLITHIAU Y PARCH. J. JONES, LLANGOLLEN, A LLYFRYN Y PARCH. J. DAVIES, LLANELLI, AR YR UN PWNC.

GAN JOHN DAVIS, MERTHYR.

## TRAETHAWD III.

### § I.—PROPHWYDI.

DICHON fod rhai yn synu pa beth sydd a wnelom ag ysgrifenu ynghylch "Prophwydi" ac "Apostolion," &c., mewn Traethodau ar Wyrthiau. Y rheswm yw, o herwydd i Mr. Jones, Llangollen, son cymmaint am danynt yn ei Ddarlithiau ar Wyrthiau; ac heblaw hyny, y maent yn dal cyssylltiad mawr â'r prif bynciau dan sylw. Yn awr, gan hyny, yr hyn a sylwn arno yn flaenaf yw,

I. Y DDAU BROPHWYD MAWR—MOSES A CHRIST.

Dywedai Mr. Jones mai dau brophwyd *mawr* yn unig oedd i fod, sef Moses a Christ, a bod pob un o'r ddau hyny yn sylfaenydd goruchwyliaeth; ac hefyd bod sylfaeniad goruchwyliaeth yn cael ei ddwyn oddiamgylch trwy gyflawniad gwyrthiau: ac o ganlyniad, cyn y gallai goruchwyliaeth newydd gael ei sylfaenu ar ol yr un a sylfaenodd Crist, fod yn rhaid cael "Prophwyd No. 3," a hwnw i fod yn fwy nâ Christ, ac i roddi mwy o arwyddion.

Yn awr, cyfaddefwn fod Moses yn sylfaenydd goruchwyliaeth, ond nis credwn ei fod ef yn *fwy* o brophwyd nag y gallai rhai ereill fod yn *gymmaint* ag yntau, heblaw Crist. "Yn wir, meddaf i chwi, Yn mhlith plant gwragedd, ni chododd *neb mwy* nag Ioan Fedyddiwr." Gan hyny, y mae yn sicr fod mwy nâ *dau* brophwyd *mawr*, ac nad yw pob prophwyd mawr yn cyflawni *gwyrthiau*, fel Moses a Christ, onide buasai Ioan Fedyddiwr yn cyflawni gwyrthiau hefyd.

Etto, os oedd yn anghenrheidiol cael prophwyd mawr, fel Moses, i sylfaenu yr oruchwyliaeth Iuddewig, nid oedd yn anghenrheidiol cael prophwydi mawr er ei chario yn y blaen; ac os oedd yn anghenrheidiol cael prophwyd mawr arall, mwy nâ Moses, sef Crist, er sylfaenu yr oruchwyliaeth Gristionogol, nid oedd yn anghenrheidiol cael prophwydi cymmaint ag ef er ei

chario yn y blaen. Ond, meddai Mr. Jones, y mae Crist yn aros o hyd yn ei swydd o Brophwyd, fel nad oes eisieu neb arall; canys "arno ef y gwrandewch yn mhob peth a ddywedo wrthych" (Act. iii, 22). Wel, o'r goreu, Mr. Jones; os yw Crist yn aros o hyd yn ei swydd o Brophwyd, mae yn rhaid ei fod yn *prophwydo*, onide buasai cystal iddo fod heb aros yn ei swydd. Ac os yw yn prophwydo yn awr, y mae yn dadguddio hyny i'w weision y prophwydi, "canys ni wna yr Arglwydd *ddim*," medd yr ysgrythyr, "a'r na ddangoso ei gyfrinach i'w weision y *prophwydi*."

Yr ydym ni yn foddlawn credu fod Moses yn gysgod o Grist, a'i fod yn *un* o'r prophwydi *mawr*, a bod Aaron megys "genau" neu brophwyd iddo yntau, cyhyd ag y byddai efe ei hun yn ei swydd. Felly hefyd, cyhyd ag y byddo Crist yn parhau yn ei swydd o Brophwyd, mae yn rhaid fod ganddo, fel Moses, eneuau neu brophwydi er llefaru drosto wrth y bobl. Os dilyn cysgodau, dilyner hwynt yn fanwl.

Etto, gyda golwg ar sefydliad yr oruchwyliaeth Gristionogol; y mae Crist wedi sefydlu hono unwaith, ac nid oes achos ei sefydlu etto; ac os gwir hyny, gellir gwneyd heb y "Prophwyd No. 3," a'r unig brophwydi sydd yn eisieu yw, prophwydi er ei chario yn y blaen, ac i ail-adrodd, megys Aaron, yr hyn a brophwydo y Prophwyd Mawr. Er mai "goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd" yw yr oruchwyliaeth hon, etto nid ydyw yn un newydd, canys yr un yw ei hefengyl ag a sefydlodd Crist, ond yn unig ei bod wedi ei hadferu gan angel o'r nefoedd, yn yr oes hon (Dad. xiv, 6), o'r "ymadawiad" a sonir am dano gan Paul (1 Thes. ii, 3). (Gweler yn mhellach yn ein traethawd ar "Gorff Crist.")

## II. ARWYDD PROPHWYDI.

Ymddengys i ni wrth chwilio yr ysgrythyrau, mai arwydd prophwydi, yn fwyaf neillduol, yw eu *prophwydoliaeth*. Pan ofynir, "Pa fodd yr adnabyddwn y gair ni lefarodd yr Arglwydd?" yr ateb yw, "Yr hyn a lefara prophwyd yn enw yr Arglwydd, a'r gair heb fod, ac heb ddyfod *i ben*, hwnw yw y gair ni lefarodd yr Arglwydd; y prophwyd a'i llefarodd mewn rhyfyg; nac ofna ef." (Gwel Deut. xviii, 20—22.) Ac er mwyn dangos nad gwiw profi prophwydoliaeth prophwyd wrth ei wyrthiau, darllener a ganlyn:—"Pan godo yn dy fysg di brophwyd, neu freuddwydydd breuddwyd (a rhoddi i ti *arwydd* neu *ryfeddod*, a dyfod *i ben* yr arwydd neu y rhyfeddod a lefarodd efe wrthyt), gan ddywedyd, Awn ar ol duwiau dyeithr (y rhai nid adwaenost), a gwasanaethwn hwynt; na wrandaw ar eiriau y prophwyd hwnw" (Deut. xiii, 1—3), canys yr oedd ei eiriau yn gyfeiliornus.

Dywed y Parch. J. Davies, Llanelli, Brycheiniog, yn ei lyfryn ar "Ddoniau Gwyrthiol," tud. 7, yn y modd hyn:—"Mae gofyn genym i gredu bod unrhyw genadwri wedi dyfod oddiwrth Dduw, heb *wyrth gyhoeddus* fel prawf o hyny, yn fwy na

ofynodd un prophwyd o ddyddiau Moses hyd ddyddiau Malachi, ac yn fwy nag a geisiwyd gan Iesu Grist nac un o'i apostolion." Gallwn ninnau ychwanegu fod gofyn gan ddynion i gredu geiriau Mr. Davies, heb wyrth, yn fwy nag a ofynai neb sydd yn gyfarwydd â'i Feibl. Beth am wyrthiau Noah, Lot, ac Ioan Fedyddiwr, pe na allem enwi neb arall? Oni chyhoeddodd y rhai hyn lawer cenadwri, heb fod sôn am gymmaint ag un wyrth? ac oni chondemniwyd lluoedd am beidio eu credu? Ac mewn perthynas i Grist, onid oedd efe yn dysgwyl i'r genedlaeth hono gredu heb arwydd, pan y dywedai, "Arwydd nis rhoddir iddi, ond arwydd y prophwyd Jonas? canys fel y bu Jonas dridiau a thair nos yn mol y morfil, felly y bydd Mab y dyn dridiau a thair nos yn nghalon y ddaear. Gwyr Ninife a gyfodant yn y farn gyda'r genedlaeth hon, ac a'i *condemniant* hi; am iddynt hwy edifarhau wrth *bregeth* Jonas; ac wele fwy nâ Jonas yma." Yr oedd gŵyr Ninife wedi credu pregeth Jonas, heb weled un wyrth; ac yr oedd y genedlaeth hono yn gwrthod credu pregeth un mwy nâ Jonas, oblegid na roddasai arwydd iddynt; ac am hyny yr oeddynt i gael eu condemnio. Yr oedd Jonas yn mol y morfil yn arwydd neu gysgod o Grist yn nghalon y ddaear; ond ni fu Jonas yn mol y morfil, na Christ yn y ddaear, er mwyn boddio ceiswyr arwyddion, fel y dylai pob parchedig, beth bynag, fod yn gwybod; ac nid oes hanes i Jonas gyflawni gwyrth i neb, eithr fe gyflawnodd Duw wyrth arno ef, oblegid ei ystyfnigrwydd: ond ni fu Jonas fawr gwell er hyny, canys digiodd eilwaith oblegid na ddaeth i ben ei brophwydoliaeth, sef "Deugain niwrnod fydd etto, a Ninife a gwympir."

Yn awr, ynte, mae yn eglur mai *prophwydoliaeth* yw yr arwydd oreu a all prophwydi ei rhoddi; a meddyliwn mai dyledswydd pob prophwyd yw profi ei genadwri oddiwrth Dduw trwy brophwydo. Os na ddaw ei brophwydoliaeth i ben, arwydda hyny mai gau-brophwyd ydyw; eithr os dygwydda ddyfod i ben, a dynion ereill yn cael prawf o hyny, profir ef yn wir brophwyd. Wrth gyflawniad ei brophwydoliaeth y mae barnu pob prophwyd. Wrth hyny y profwyd Ioan Fedyddiwr, a phob un o'i flaen ac ar ei ol. Pan brophwydai Ioan, "Myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio chwi â dwfr i edifeirwch: eithr yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i, * * * efe a'ch bedyddia chwi â'r Ysbryd Glan ac â thân" (Math. iii, 11), nid oedd neb bryd hyny yn gwybod ei fod yn prophwydo gwirionedd; eithr pan gyflawnwyd ei eiriau, profwyd ef yn wir brophwyd. Felly y gallem ddywedyd am Grist hefyd pan yn rhag-ddywedyd am yr arwyddion i ganlyn y rhai a gredant; ac hefyd am Pedr ar y Pentecost, ynghylch dawn yr Ysbryd Glân, ac am Ioan yn prophwydo am adferiad yr efengyl, &c., &c. Ac yn y dyddiau diweddaf hyn, os oes rhywun yn cymmeryd arno i fod yn brophwyd, efe a brofa ei ddanfoniad yn yr un modd; ac felly y mae *Joseph Smith* wedi gwneyd. Cyfeiriwn at un brophwydoliaeth o'i eiddo er eng-

braifft: mŷned y darllenydd weled "**Llyfr yr Athrawiaeth a** Chyfammodau," a darllened Dos. iv, 10, 11: ac er profi cyflawniad y brophwydoliaeth, mae cymmaint o dystion ag oedd i brofi cyflawniad proplıwydoliaeth Ioan Fedyddiwr. Ac yn mhellach, os na ddigia ein darllenwyr, gwnawn ninnau hefyd brophwydo fel hyn:—Pwy bynag a gredo yr efengyl a bregetha Saint y Dyddiau Diweddaf, ac a edifarhao am ei bechodau, ac a gymmer ei fedyddio er maddeuant pechodau, gan un o bregethwyr y Saint, efe a dderbynia *ddawn yr Ysbryd Glân* yn eglurhaol iddo ei hun, ac a gaiff wybod trwy ddadguddiad fod y brophwydoliaeth hon yn wir. Yn awr, os yw y bobl am wybod pa un ai gwir ai gau ydym ni, bydded iddynt wneuthur prawf drostynt eu hunain, ac nid gwaeddi am wyrthiau, canys "cenedlaeth ddrwg a godinebus sydd yn ceisio arwydd, ac arwydd nis rhoddir iddi.

### III. PROPHWYDI AR OL CRIST.

Mae yn drueni fod pobl mor anwybodus ag haeru na fu neb prophwydi ar ol y Prophwyd Mawr, sef Crist. Mae y sawl a haerant hyny naill ai yn gibddall, neu am orchfygu yn eu pwnc. Gall pawb sydd yn medru darllen wybod yn amgenach. Oni osododd Duw yn ei eglwys, "yn gyntaf apostolion, yn ail *prophwydi*, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau," &c.? Onid oedd prophwydi hefyd yn eglwys Corinth, ac onid oes sôn am brophwydi, a phrophwydesau hefyd, mewn manau ereill?

Eithr y mae rhai pobl drachefn yn cyfaddef i amryw brophwydi fod ar ol Iesu Grist, ond dadleuant na fu un prophwyd ar ol yr Apostol Ioan, neu wedi i'r Testament Newydd gael ei orphen. Ond pa beth a ddywed Ioan ei hun? "Ac efe [sef yr angel] a ddywedodd wrthyf," medd Ioan, yn Dad. x, 11, "Rhaid i ti *drachefn* brophwydo i bobloedd, a chenedloedd, ac ieithoedd, a breninoedd lawer." Onid yw hyn yn arwyddo fod Ioan yn "aros," a'i fod i brophwydo llawer etto? Ac os yw Ioan yn aros, mae genym yn yr oes hon un prophwyd o leiaf; ac os yw y geiriau canlynol yn wir, mae yn rhaid fod rhywun yn aros. Y geiriau ydynt eiddo Crist—"Yn wir y dywedaf wrthych, Y mae *rhai* o'r sawl sydd yn sefyll yma, a'r *ni phrofant angeu*, hyd oni welont Fab y Dyn yn dyfod yn ei freniniaeth" (Math. xvi, 28). Ond os yw y darllenydd yn ammau hyna, darllened yr hyn a dystia Ioan am "ddau brophwyd," yn Dad. xi, 3—12, y rhai a "brophwydant fil a deucant o ddyddiau, wedi ymwisgo â sachlian," a hyny yn Jerusalem, mewn amser dyfodol. Mae yn werth troi i ddarllen am y ddau hyn, oblegid eu bod yn brophwydi mor *fawrion*, ac i gyflawni cymmaint o wyrthiau.

Etto, os yw Crist yn parhau yn ei swydd yn yr oes hon, ac yn prophwydo, mae yn rhaid fod ganddo ei "weision y prophwydi" ar y ddaear yn awr, er cyhoeddi ei brophwydoliaethau i'r byd. Ac yn wir, y mae cannoedd a miloedd lawer yn yr oes

hon ag sydd yn gwybod fod prophwydi yn eu mysg, a gall pawb wybod yr un peth, os mynant; a phriodol y gallem ofyn yn ngeiriau un o'n cyfeillion o'r byd, sef Daniel ab Iago,—

"Dywedwch beth yw'r achos, onid ydyw hyn yn chwith,
Na chredem ni brophwydi tra fyddont yn ein plith?
Yn mhen rhyw faith ganrifoedd, fe'u credir gan bob gradd,
Ond os bydd rhai'n ein canol, nid llesiol heb eu lladd."

---

## § II.—YR YSBRYD GLAN.

Dichon nad oes dim ag y gŵyr dynion lai am dano nâ'r Ysbryd Glân. Ychydig iawn a geir yn credu yn yr oes hon yn yr Ysbryd hwnw a ddarlunia yr ysgrythyrau, yr hwn sydd yn Ysbryd anghyfnewidiol, yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd. Mae yr Ysbryd hwn yn un sylweddol, ac y mae dynion yn teimlo pan yn cael eu llanw o hono, ac yn gwybod mewn sicrwydd eu bod yn ei dderbyn. Am ragor o sylwadau ar hyn, darllener ein traethawd ar y "Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân," yn yr ail gyfrol o "Udgorn Seion."

### I. BEDYDD YR YSBRYD GLAN.

Yn ol yr hanes ysgrythyrol, Ioan Fedyddiwr oedd y cyntaf i sôn am fedydd yr Ysbryd Glan; "Efe," medd Ioan, "a'ch *bedyddia* chwi â'r Ysbryd Glan ac â thân." Wedi hyny y mae hanes am Iesu Grist yn sôn am yr un bedydd, pan y dywed, "Oblegid Ioan yn ddiau a fedyddiodd â dwfr; ond chwi a *fedyddir* â'r Ysbryd Glân, cyn pen nemawr o ddyddiau" (Act. i, 5). Er nad oedd Iesu Grist yn sôn am y "tân," etto mae yn ddiau y meddyliai am yr un bedydd. Nid oes un crybwylliad arall gan neb, am a wyddom ni am dano, lle yr addawir yr Ysbryd dan yr enw *bedydd.* Yr hyn y mae Joel yn addaw yw *tywalltiad* yr Ysbryd, a'r hyn a addawa Pedr yw, "Chwi a *dderbyniwch* ddawn yr Ysbryd Glan."

Yn awr, fe ddywedodd Mr. Jones mai "dwy waith y mae genym hanes am fedydd yr Ysbryd, sef ar ddydd y Pentecost, ac yn nheulu Cornelius, a dim rhagor." Aïe, yn wir? Beth sydd yn dweyd mai *bedydd* yr Ysbryd Glan oedd yn cymmeryd lle ar ddydd y Pentecost ac yn nheulu Cornelius? Yr hyn a ddywedodd Pedr am y peth a fu ar y Pentecost oedd, "Hyn yw y peth a ddywedwyd trwy y prophwyd Joel;" ac ni ddywedodd Pedr na Joel mai *bedydd* oedd. Mr. Jones a ninnau sydd yn casglu hyny, fel y mae yn naturiol ddigon. Ond paham y casglwn fod derbyniad yr Ysbryd ar y Pentecost ac yn nhŷ Cornelius, yn fwy o *fedydd* nâ derbyniad yr Ysbryd gan y rhai hyny yn Ephesus (Act. xix, 1—7)? Oni dderbyniasant oll yr Ysbryd yn gyffelyb i'w gilydd? ac onid oeddynt oll yn llefaru â thafodau? Ac yn wir, oni dderbyniwyd yr Ysbryd felly hefyd yn eglwys Corinth? onid oeddynt yn llefaru â thafodau yno hefyd? ac os bu *bedydd yr Ysbryd* yn rhywle,

mae yn ddiau iddo fod yn eglwys Corinth; ïe, y mae mwy o brawf iddo fod yn eglwys Corinth nag ar y Pentecost ac yn nhŷ Cornelius; oblegid ysgrifena Paul atynt, gan ddywedyd, "O herwydd *trwy* un *Ysbryd* y BEDYDDIWYD ni oll yn un corff, pa un bynag ai Iuddewon ai Groegwyr, ai caethion ai rhyddion; ac ni a ddiodwyd oll i un Ysbryd (1 Cor. xii, 13). Beth meddwch yn awr, Mr. Jones? ai dwy waith yn unig y sonir am fedydd yr Ysbryd, a dim yn rhagor!

Ond etto, dywedai Mr. Jones hefyd, "fod bedydd yr Ysbryd yn dygwydd pa un a fyddai dynion wedi eu bedyddio â dwfr ai peidio." Dyna stori newydd etto. Ai nid oedd y *dyscyblion*, y rhai a dderbyniasant fedydd yr Ysbryd ar y Pentecost, ac yn Ephesus, ac yn eglwys Corinth, wedi eu bedyddio yn gyntaf â dwfr? Oeddynt yn ddiau. Wel, beth y mae Mr. Jones yn siarad, ynte? O, tybied y mae, oblegid i Dduw wneyd eithriad yn nhŷ Cornelius, nad oedd un reol yn bod. Gall pawb wybod, a ddarlleno yr hanes yn Actau xi, fod dyben neillduol gan Dduw yn gwneyd yr eithriad hono, sef er argyhoeddi Pedr a'i frodyr, fod Duw yn rhoddi yr Ysbryd Glan i'r Cenedloedd, yn gystal ag iddynt hwythau. Os oes gwyrth mewn cyssylltiad â rhoddi yr Ysbryd Glan, mae yn gynnwysedig mewn rhoddi yr Ysbryd Glan heb fedydd, ac *heb* osodiad dwylaw, ac nid "*trwy* osodiad dwylaw," fel yr haerai Mr. Jones; canys y rheol gyffredinol yw, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." Pedr a gyhoeddodd y rheol gyffredinol hon, ac iddo ef (fel llywydd) yr amlygodd Duw yr eithriad, ac y dangosodd ei fod ef yn cyfranu yr un Ysbryd i'r Cenedloedd hefyd. Nid oes un hanes arall fod neb yn derbyn yr Ysbryd Glan, cyn ei fedyddio â dwfr yn gyntaf, ac nid oes un addewid o'r fath i neb. Hefyd, y mae gosodiad dwylaw yn anhebgorol angenrheidiol er derbyn yr Ysbryd Glan, fel y gwelir mewn cyssylltiad â'i dderbyniad gan y dyscyblion yn Samaria ac Ephesus (Act. viii, 14—17 a xix, 1—7). Yr oedd yn rhaid cael apostolion neu henuriaid, cyn y gellid gosod dwylaw; ac er y gallai Phylip ac ereill bregethu, bedyddio, a bwrw allan gythreuliaid, &c., etto ni allent osod dwylaw. Mae yn wir nad oes hanes i neb osod dwylaw ar yr apostolion ac ereill a dderbyniasant yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost, ar y pryd hyny, etto yr oedd dwylaw Crist wedi bod ar eu penau yn flaenorol (wrth eu hordeinio, o leiaf), ac yr oeddynt hwythau wedi derbyn graddau o'r Ysbryd Glan. A chyda golwg ar y tair mil, ni ddywedir iddynt hwy dderbyn yr Ysbryd y diwrnod hwnw, ond ymddengys iddynt ei gael yn ol llaw yn ol yr addewid, a thrwy osodiad dwylaw, fel ereill ar eu hol.

Etto, "yr oedd yr Ysbryd," meddai Mr. Jones, yn cael ei roddi mewn dwy ffordd, heblaw *bedydd* yr Ysbryd, sef "yn 1af, er argyhoeddi o bechod, ac yn ail, yn ddoniau iachâu, &c." Nis gwyddom ni am un ffordd y mae'r Ysbryd yn argyhoeddi, ond trwy y geiriau a'r nerth a rydd i'r pregethwr. Yr oedd

dyscyblion Ioan Fedyddiwr, y tair mil ar y Pentecost, a'r bobl yn Samaria ac Ephesus, wedi eu hargyhoeddi cyn erioed iddynt ei dderbyn; ac er y cyfaddefwn yn rhwydd mai yr Ysbryd yn y pregethwyr oedd yn eu hargyhoeddi, etto nid oeddynt hwy eu hunain yn ei dderbyn y pryd hwnw. Etto, y doniau iachâu, &c., oeddynt ffrwythau yr Ysbryd ar ol ei dderbyn, fel y dangoswn wrth sylwi ar

### II. DONIAU GWYRTHIOL YR YSBRYD GLAN.

Dywed Paul yn 1 Cor. xii, 4—11, fod "*amryw ddoniau*, eithr yr *un* Ysbryd. Ac y mae amryw weinidogaethau, eithr yr un Arglwydd. Ac y mae amryw weithredıadau, ond yr un yw Duw, yr hwn sydd yn gweithredu pob peth yn mhawb. Eithr eglurhad yr Ysbryd a roddir i bob un er llesâd. Canys i un, trwy yr Ysbryd, y rhoddir ymadrodd doethineb; ac i arall, ymadrodd gwybodaeth, trwy yr un Ysbryd; ac i arall ffydd, trwy yr un Ysbryd; ac i arall ddawn i iachâu, trwy yr un Ysbryd; ac i arall wneuthur gwyrthiau; ac i arall brophwydoliaeth; ac i arall, wahaniaeth ysbrydoedd; ac i arall, amryw dafodau; ac i arall, gyfieithad tafodau. A'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu, gan ranu i bob un o'r neilldu megys y mae yn ewyllysio." Gwelir yn awr fod yr holl ddoniau uchod yn roddion Duw i'r brodyr, sef y rhai ag oedd wedi eu hargyhoeddi, eu bedyddio, a'u cadarnhau trwy osodiad dwylaw; a gwelir hefyd mai trwy dderbyniad yr *un* Ysbryd y deilliai y cyfan.

Ond dywedai Mr. Jones "nad oedd pob dyn a argyhoeddwyd yn meddu doniau iachâu, tafodau dyeithr, &c." Wel, a chaniatâu fod hyn yn wir (yr hyn y mae efe heb ei brofi etto), ar bwy oedd y bai? Yr oedd yn rhaid "*deisyf*" y doniau, cofier, cyn y gellid eu cael. Ond pe gwnelid hyny, nid oedd pob dyn yn cael yr holl ddoniau iddo ei hun, eithr cyfrenid i bob un yn ol ewyllys yr Ysbryd; canys, fel y dangosa Paul, nid oedd pawb yn apostolion, neu brophwydi, neu athrawon, neu yn gwneuthur gwyrthiau, neu yn iachâu, neu yn llefaru â thafodau, &c.

"Nid yw derbyn Ysbryd y doniau gwyrthiol," meddai Mr. Jones, "yn newid y galon," fel pe buasai rhyw Ysbryd arall at y gorchwyl hyny. Ai ni ddylai efe wybod mai dim ond *un* Ysbryd sydd, ac mai yr Ysbryd ag sydd yn "geni drachefn," neu newid y galon, yw yr Ysbryd sydd yn cyfranu y doniau ysbrydol, ac nad yw yr Ysbryd hwnw byth yn cyfranu y doniau yn flaenorol i gyfnewid y galon. Y rheswm a roddodd Mr. Jones oedd, y bydd y Barnwr yn dweyd wrth rai o'r sawl a gawsant ddoniau gwyrthiol, "Nis adnabum chwi erioed." Mewn atebiad i hyn, gwyddom ei fod yn bosibl i ddyn gael ei eni drachefn, a bod yn feddiannol ar y doniau gwyrthiol, ac yna syrthio ymaith, fel na fydd yn bosibl iddo ymadnewyddu drachefn i edifeirwch (Heb. vi, 1—6); a rhwydd y gall rhywrai felly, yn eu tywyllwch, waeddi yn y dydd mawr, "Arglwydd, Arglwydd, oni phrophwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom

allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni wnaethom wyrthiau lawer yn dy enw di?" (Math. vii, 22). Ond nid yn rhwydd y gallai meibion Scefa ddywedyd hyny, canys bu iddynt hwy fethu; gwel Act. xix, 14—16. Os nad dynion a ysgymunwyd, neu a ysgymunir felly o eglwys Crist, fydd y dynion dan sylw, ofnwn mai rhai o barchedigion Cymru fyddant, megys Mr. Williams, Aberduar, yr hwn a ddywedai, y bwrir allan gythreuliaid, trwy fod dynion drwg yn dyfod yn rai da; y llefarir â thafodau newyddion trwy fod yr annuwiol yn dyfod i weddio, ac yr iacheir y cleifion trwy osod llaw ar ben plant pan yn cwyno!! Dichon y bydd y ddau ddosparth yn y farn, ac na fydd Crist yn adwaen yr un o honynt.

### III. PARHAD BEDYDD YR YSBRYD A'R DONIAU GWYRTHIOL, A'R FFORDD I'W CAEL.

Nid oes achos am ddim gwell i brofi parhad bedydd yr Ysbryd a'r doniau ysbrydol, neu wyrthiol, na'r hyn a ddywedodd Pedr ar y Pentecost ynghylch yr addewid o ddawn yr Ysbryd Glan. "Canys i chwi," medd efe, "y mae'r addewid, ac i'ch plant, ac i *bawb yn mhell, cynnifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato*" (Act. ii, 39). Derbyniad yr Ysbryd ar y Pentecost oedd y bedydd a brophwydodd Ioan Fedyddiwr am dano, a'r llefaru â thafodau oedd un o ffrwythau cyntaf yr Ysbryd hwnw; a'r hyn a gafodd Pedr a'i frodyr eu hunain, oedd yr hyn a addawsant i bawb yn mhell. Yr oedd Joel hefyd wedi prophwydo y tywalltai Duw ei Ysbryd ar "*bob cnawd*," yr hyn sydd yn gwirio geiriau Pedr; a rhag-ddywedai hefyd y buasai y meibion a'r merched yn prophwydo, a'r gwyr ieuainc yn gweled gweledigaethau, &c., yr hyn ni chymmerodd le ar ddydd y Pentecost. Nid oedd gan yr apostolion a'r Saint gynt, ond "*blaenffrwyth* yr Ysbryd" (Rhuf. viii, 23); yr oedd y cyflawnder mawr o hono ar bob cnawd i gael ei dywallt yn y dyddiau diweddaf, am yr hyn "ni a wyddom fod pob creadur yn cydocheneidio," "ac yn dysgwyl am ddadguddiad meibion Duw."

Hefyd, mae y ffaith o fod yn rhaid i ddyn gael ei "eni o'r Ysbryd," cyn y dichon fyned i mewn i deyrnas Dduw, yn profi parhad bedydd yr Ysbryd ag oedd Crist ac Ioan Fedyddiwr wedi addaw, yr hwn Ysbryd sydd megys gwynt yn chwythu lle y myno, ac er i ni glywed ei swn (neu fod yn ymwybodol o'i bresennoldeb), nis gwyddom o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned (gwel Ioan iii, 5—8). Yr Ysbryd hwn etto oedd y "Dyddanydd arall" hwnw y dywedodd Iesu Grist a roddai ei Dad, "fel yr aroso gyda chwi yn *dragywyddol*" (Ioan xiv, 16). Ac os mai swydd y Dyddanydd oedd mynegi pethau i ddyfod, a dwyn ar gof y pethau a aethant heibio, yna y mae hyny etto yn brawf arall o barhad prophwydoliaeth a dadguddiad, neu y doniau ysbrydol.

Yn awr, gan y byddwn etto yn ysgrifenu ynghylch parhad y doniau hyn wrth sôn am yr "arwyddion" a'r "hyn sydd o ran," mewn traethodau dilynol, ni wnawn ragor yn bresennol

nâ chrybwyll mai y prawf goreu o barhad bedydd yr Ysbryd a'r doniau ysbrydol, yw eu bodoliaeth yn yr Eglwys yn yr oes hon, o'r hyn yr ydym ni a miloedd ereill yn dystion.

Y ffordd i gael bedydd yr Ysbryd, yw trwy gael y bedydd dwfr yn gyntaf, a pheidio credu, fel Mr. Jones, "nad yw Ysbryd Glan yr arddodiad dwylaw i'w gael yn awr." A'r ffordd drachefn er cael y doniau ysbrydol, yw *deisyf* am danynt, fel y cynghorir yn 1 Cor. xii, 31; a xiv, 1. Ond "nid oes hanes fod neb," meddai Mr. J., "yn *gweddio* am y doniau ysbrydol, eithr eu bod yn eu cael trwy arddodiad dwylaw; canys *deisyf* sydd yn y Beibl, ac nid *gweddio.*" Ni wyddem ni o'r blaen nad *gweddio* oedd deisyf: ond beth a ddywed Mr. J. am y geiriau hyn—"Yr hwn sydd yn llefaru â thafod dyeithr, *gweddied* ar iddo allu cyfieithu" (1 Cor. xiv, 13)? Yn awr, os oedd "cyfieithad tafodau" yn ddawn, nid trwy osodiad dwylaw y ceffid hono, beth bynag, ond trwy weddio neu ddeisyf, er yn wir mai trwy osodiad dwylaw y derbyniwyd yr Ysbryd ar y cyntaf, yr hwn wedi hyny oedd yn cyfranu yn ol deisyfiad y saint, ac yn ol ei ewyllys ei hun. Cymmaint â hyna, ynte, ar yr hyn a alwai Mr. J. yn "râs arddodiad dwylaw a grâs gweddi."

---

## § III.—ENEINNIO AG OLEW, A GWEDDIO.

Mewn perthynas i'r ordinhad o eneinnio a gweddio, dywed yr Apostol Iago fel y canlyn:—"A oes neb yn eich plith yn glaf? galwed ato henuriaid yr eglwys; a *gweddiant* hwy drosto, gan ei *eneinnio ef ag olew* yn enw yr Arglwydd: a gweddi y ffydd a iachâ y claf, a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny; ac os bydd wedi gwneuthur pechodau hwy a faddeuir iddo. Cyffeswch eich camweddau bawb y'ch gilydd, fel y'ch *iachâer.* Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn" (Iago v, 14—16). At yr un peth y cyfeiriai Iesu Grist hefyd, pan y dywedodd, "Ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach" (Marc xvi, 18).

Ymddengys, ynte, mai trwy eneinnio ag olew, ynghyd â gweddi y ffydd a gosodiad dwylaw, yr iacheid y cleifion yn yr eglwys yn yr amser gynt. Yr oedd olew yn cael ei ddefnyddio hyd y nod yn nyddiau Iesu Grist, ac y mae yn ddiddadl fod yr apostolion ac ereill yn ymwneyd cymmaint ag olew yn yr amser hyny, ag yw Saint y Dyddiau Diweddaf yn bresennol. Os nad oeddynt yn cario costreli yn eu llogellau, yr oedd yr olew yn agos wrth law, pan fuasai ei eisieu; canys dywedir yn Marc vi, 13, "Ac a fwriasant allan lawer o gythreuliaid, ac a *eliasant* [neu *eneinniasant*] ag olew lawer o gleifion, ac a'u hiachausant." Cofied Mr. Jones, ynte, fod y Saint yn dilyn yr apostolion yn hyn, fel yn mhob peth arall.

Ymddengys hefyd fod ffydd yn anhebgorol anghenrheidiol er i'r cleifion dderbyn iechyd; canys crybwyllir am "weddi y *ffydd,*" a dywedir mai "llawer a ddichon *taer weddi* y cyfiawn,"

gan gyfeirio at weddi a ffydd Elias. Ac er mwyn dangos y rhwystrau sydd ar y ffordd i'r cleifion gael iechyd, dywedir, "Cyffeswch eich *camweddau* bawb i'ch gilydd, a gweddiwch dros eich gilydd, fel y'ch *iachâer.*"

Nid oes hanes am neb yn cael ei iachâu trwy yr ordinhad hon, ond yr hyn a ddywedir yn Marc vi, 13; eithr y mae yn rhesymol i farnu, er hyny, ei bod yn cael ei gweinyddu ar laweroedd, a bod amryw, ond nid pawb, yn derbyn y fendith. Ffolineb yw dysgwyl y buasai ysgrifenwyr y Testament Newydd yn cof-nodi pob methiad. Os oes hanes yn Marc ix, 18, i'r apostolion fethu iachâu y cythreulig, nid er mwyn nodi y methiad yr ysgrifenwyd ef, eithr er mwyn profi yr anghenrheidrwydd o *ffydd.* Gwel hefyd Math. xvii, 23. Digoned hyna o ateb i Mr. Jones, pan y dywedai, "Nid oes genym hanes am un cwrdd gweddi i wella y claf, ac yn methu." Oes, yr ydym wedi nodi un cwrdd, ac yn hwnw, yr hwn oedd yn gwrdd o apostolion, nid oedd cymmaint â gronyn had mwstardd o ffydd; ac oblegid hyny hwy a fethasant iachâu.

I. AR BWY Y GWEINYDDID YR ORDINHAD O ENEINNIO, &c.?

Sylwai Mr. Jones, Llangollen, mewn cyssylltiad â'r geiriau, "Ac *os* bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo," fod y gair "*os*" yn profi mai cleifion yn euog o ryw bechodau *neillduol*, oedd i gael eu heneinnio ag olew, &c., o herwydd y dywedir mewn man arall o'r ysgrythyr fod *pawb* yn pechu; a chan fod pawb yn pechu, defnyddir yr *os* er dangos rhyw bechodau neillduol. Y pechodau neillduol dan sylw, meddai Mr. J., oeddynt yn gyffelyb i bechod y dyn hwnw a fu yn godinebu â gwraig ei dad (gwel 1 Cor. v, 1—5), yr hwn a draddodwyd i Satan, i ddinystr y cnawd. Dynion felly ag oeddynt yn derbyn barn yr Apostolion, medd ein parchedig dysgedig, oedd i alw atynt henuriaid yr eglwys, ac nid neb cleifion ereill!

Mewn atebiad i Mr. Jones, cyfaddefwn gyda Ioan yr Apostol, "Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn twyllo ein hunain" (1 Ioan i, 8); o ganlyniad y mae pawb yn pechu. Er hyny, nis gallwn anghredu Ioan yn dweyd drachefn, yn mhen. iii, 9, "Pob un a aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod." Ond pa peth bynag am hyny, mae yn amlwg fod pawb yn pechu mewn *meddwl, gair*, neu *weithred.* Mae yn anhawdd ystyried fod dyn yn pechu yn erbyn yr eglwys, os na wna hyny mewn *gair* neu *weithred;* meddyliwn mai yn erbyn Duw yn unig y pechir mewn *meddwl;* o ganlyniad, fe all pawb bechu, heb iddynt bechu yn erbyn yr eglwys. Ond y mae llawer o bechodau, ag ydynt yn erbyn yr eglwys, na ellir eu maddeu, heb i'r eglwys roddi maddeuant; ac y mae rhai pechodau drachefn, y rhai ydynt yn anfaddeuol yn y byd hwn ac yn y byd a ddaw. Buasai yn dda genym gael lle i sylwi yn y fan yma yn helaethach ynghylch y gwahanol bechodau, ond ni chaniatâ ein terfynau. Gan hyny, awn yn mlaen i sylwi ar y gair "*os.*" Mae yn rhwydd canfod oddiwrth rediad yr adnodau a ddyfyn-

asom ar y dechreu, fod gweddi y ffydd yn iachâu y claf, heb ei fod ef wedi cyflawni pechodau; canys y mae'r geiriau, "AC OS bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo," yn dangos nad oedd eisieu cael maddeuant ar bob claf; ac heblaw hyny, nid *iachâd* a berthynai i'r "*os*" hyn, ond *maddeuant*. Ac er nad oes un claf yn ddibechod, etto nid oes anghen i bob claf ofyn maddeuant yr eglwys, neu gyffesu ei gamweddau wrthi, os na fydd wedi pechu yn ei herbyn: canys fe all yr hwn a becho yn unig mewn meddwl, gael maddeuant gan Dduw; heb achos cyffesu wrth yr eglwys. Ond y mae peth arall yn profi y pwnc yn eglurach etto. "A oes *neb* yn eich plith yn glaf?" medd yr apostol: nid yn glaf o ryw glefyd neillduol a ddywed, ond yn *glaf*, megys y cleifion hyny a nodir yn Marc vi, 13, y rhai hefyd a eneinniwyd ag olew. Pe meddylier am ryw glefyd barnol, buasai yn debyg o nodi hyny, rhag cam-arwain yr eglwysi: a phe meddyliai, yn yr adnod flaenorol am ryw "adfyd" neu "esmwythyd" neillduol, buasai yn dweyd hyny; ond gan na noda hyny, y mae yn ddiau yn golygu pob adfyd, pob esmwythyd, a phob clefyd, yn ddiwahaniaeth. Gan hyny, os oedd neb yn glaf, ei ddyledswydd oedd galw ato henuriaid yr eglwys; ac *os* buasai wedi gwneuthur pechodau, ac yn eu cyffesu, yr oedd i gael maddeuant yr un pryd â'r iechyd. Y mae anghen am "*daer* weddi y cyfiawn" mewn cyssylltiad â'r ordinhad o eneinnio a gosod dwylaw, cyn y gellir dysgwyl y fendith a ddymunir. Yn awr, gwelwn fod haeriad Mr. Jones, sef, "nad oedd cwrdd gweddi enneinnio ag olew, &c., i wella neb, ond y rhai dan farn yr apostolion," yn hollol ddisail, ac yn hollol afresymol. Ac mewn cyssylltiad â'r peth arall a ddywedodd, sef, "Pe buasai pob brawd a chwaer yn cael eu hiachâu, ni adawsid Trophimus yn glaf." Na wnelsid, mae yn wir; ond nid oedd "ffydd" gan bawb, ac nid oedd "doniau iachâu" gan bawb, ac nid oedd pawb yn cyffesu eu camweddau, ac yn gweddio dros eu gilydd, fel eu hiachêid, ac efallai nad oedd pawb yn galw atynt henuriaid yr eglwys; ac felly, nid oedd yn rhesymol yr iacheid pob brawd a chwaer, serch fod yr addewid i bawb.

### II. PARHAD YR ORDINHAD O ENEINNIO A GWEDDIO.

Mewn cyssylltiad â hyn, dywedai Mr. Jones yn ei ail ddarlith, gan gyfeirio at eiriau Iago, "Welc, y mae y Barnwr yn sefyll wrth y drws" (pen. v, 9), nas gellid temtio Duw â drygau wedi yr amser yma, sef dyfodiad yr Arglwydd, yr hyn a alwai ef yn ddinystr Jerusalem. Wedi hyny yr oedd pob peth i fod yn newydd, nefoedd newydd a daear newydd; ac yn bresennol, dywedai nad oedd neb yn cael ei daro â barn, ac nad oedd Duw wedi temtio neb er dinystr Jerusalem, eithr fod Duw yn gwlawio ar y drwg a'r da yn ddiwahaniaeth; ac o ganlyniad, nad oedd eisieu eneinnio ag olew a gweddio dros y claf yn awr, eithr ei adael yn glaf, fel y gadawyd Trophimus gan Paul (gwel 2 Tim. iv, 20). "Ac nid awn i" meddai hefyd, "gyda dyn a'm gadawai yn glaf yn y gwely."

Dyma enghraifft arall o *logic* Mr. Jones. Rhyfedd mor wasanaethgar ganddo yw dinystr Jerusalem, a dyfodiad Crist. Ai tybied fod dinystr Jerusalem yn dinystrio braidd pob peth yn yr eglwys ?—yn dinystrio yr apostolion, y prophwydi, yr efengylwyr, y gwyrthiau, y tafodau dyeithr, y doniau iachâu, yr ymadrodd docthineb a gwybodaeth, dadguddiad, ffydd, gwahaniaeth ysbrydoedd, &c., a dim ond gadael athrawon a diaconiaid ar ol, i ddangos fod eglwys wedi bod ! canys Duw yn wir a osododd yr holl bethau uchod yn yr eglwys, hyd nes y deuai yn wr perffaith. Ac ai tybied hefyd fod y Barnwr i ddyfod cyn "dydd y *farn?*" Nid barnu fu yn Jerusalem, ond dinystrio. Pan yr ymddengys Crist yr *ail* waith, efe a ymddengys er iachawdwriaeth, o leiaf i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl (Heb. ix, 28), yr hyn ni chymmerodd le yn ninystr Jerusalem, nac ychwaith oddiar hyny hyd yn bresennol.

Etto, mewn perthynas i "nefoedd newydd a daear newydd," mae yn ddiau fod yn rhaid aros i'r "nefoedd a'r ddaear sydd yr awrhon," gael eu llosgi trwy dân, cyn byth y gwelwn y "nefoedd newydd a daear newydd, yr ydym ni, yn ol ei addewid ef, yn eu dysgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu." (Gwel 2 Pedr iii, 7—13.) A chyda golwg nad oes neb yn cael ei daraw â barn yn awr, y mae pawb sydd yn darllen newyddiaduron yn gwybod gwell : ac fe ddylai pawb wybod hefyd fod Duw yn gwlawio yn awr megys yr arferai wneuthur, canys pa fodd y gallai un amser wlawio ar y cyfiawn, heb wlawio ar y lleill, pan y maent yn gymmysg. Etto, os nad elai Mr. Jones gyda dyn a'i gadawai yn glaf yn y gwely, ni wasanaethai hyny ddim amgen nâ phrofi nad yw Mr. Jones yn hanner cystal dyn â Trophimus, yr hwn ni wadodd ei ffydd, serch i Paul ei adael ef yn glaf yn Militum.

Yn mhellach, dywedwn fod yr ordinhad o eneinnio a gweddio i barhau yn yr eglwys, cyhyd ag y byddo cleifion i gael; canys os yw yr hwn sydd yn awr mewn adfyd i weddio, a'r hwn sydd yn esmwyth arno i ganu salmau; yna, mae yr hwn sydd yn glaf, i alw ato henuriaid yr eglwys. Hefyd, y mae yr ordinhad hon yn un o'r arwyddion sydd i ganlyn y credinwyr hyd ddiwedd y byd ; a phe na fyddai un prawf ysgrythyrol dros ei pharhad, mae cannoedd o brofion yn yr oes hon ei bod yn cael ei harddel gan Dduw yn ei eglwys yn awr; oblegid fe ddywedodd Crist, "*Beth bynag* a ewyllysioch, gofynwch, ac efe a fydd i chwi."

Yn awr, yr ydym yn cwblhau y traethawd hwn, gydag hysbysu fod "Barn Duw a Dinystr Jerusalem," yn cael eu cynnwys i raddau yn y ddosran hon, ac y sylwir arnynt etto yn helaethach mewn cyssylltiad â "Diwedd y Byd," a'r "Hyn sydd o Ran." Dechreuir y traethawd nesaf â "*Gwyrthiau Swynwyr yr Aifft.*"

*Merthyr, Meh.* 15, 1852.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

Rhif. 4.] [Pris 1g.

# TRAETHODAU
AR
# WYRTHIAU,
YN CYNNWYS
## ADOLYGIAD AR DDARLITHIAU Y PARCH. J. JONES, LLANGOLLEN, A LLYFRYN Y PARCH. J. DAVIES, LLANELLI, AR YR UN PWNC.

GAN JOHN DAVIS, MERTHYR.

## TRAETHAWD IV.

### §I.—GWYRTHIAU SWYNWYR YR AIFFT.

Mae llawer iawn o ddadleu wedi bod, ac yn bod, ynghylch gwyrthiau swynwyr yr Aifft. Barna rhai mai ffug-wyrthiau oeddynt, ac ereill a farnant eu bod yn wyrthiau gwirioneddol; ac yn mhlith y rhai a farnant eu bod yn wyrthiau gwirioneddol, gellir rhestru yr Archesgob Tillotson, Dr. Fleetwood, Dr. Shuckford, Luther, Arglwydd Bacon, Richard Baxter, Adam Clark, Mr. Hallet, Edmond Jones o Bontypool, ac amryw enwogion ereill. Ac yn wir, y mae y Parch. J. Jones, Llangollen, yn credu bod troad y gwiail yn seirff, yn wyrth wirioneddol, ond mai nid y swynwyr a'i gwnaeth! Diolch am gymmaint â hyna o blaid y gwir; ac er y gall y gwir sefyll o ran ei hun, etto goreu i gyd pa fwyaf a safo o'i blaid gyda'r Saint.

Ond cyn myned yn mhellach, dymunwn sylwi nad yw profi na wnaeth swynwyr yr Aifft wir wyrthiau, ddim yn profi nad oes gallu gan ddiafol neu ddynion i wneyd yr unrhyw; eithr os profwn i'r swynwyr wneuthur gwir wyrthiau, yna mae ein pwnc ni yn cael ei ennill trwy y prawf hwn yn unig, pe na allem gael un prawf arall. Ac yn awr, rhag myned â gormod o le i ragymadroddi, dechreuwn gyda y wyrth gyntaf.

#### I. TROI Y GWIAIL YN SEIRFF.

Yr oedd yn ddifyr i glywed Mr. Jones yn trafod y pwnc hwn, canys yr oedd yn ymddangos yn *fwy* nâ gorchfygwr. Ni

chlywsom ni o'r blaen ddim cyffelyb, ac ystyried nad oedd ganddo unrhyw help ond ei "Feibl anwyl." Clywch ef yn darllen yr adnodau hyn:—"Ac Aaron a fwriodd ei wialen gerbron Pharaoh, a cherbron ei weision; a hi a *aeth yn sarff*. A Pharaoh hefyd a alwodd am y doethion, a'r hudolion: a hwythau hefyd, sef swynwyr yr Aifft, a wnaethant felly trwy eu swynion. Canys bwriasant bob un ei wialen; a hwy a *aethant yn seirff*: ond gwialen Aaron a lyncodd eu gwïail hwynt" (Exod. vii, 10—12). Yna ymresyma Mr. Jones, yn gyfrwys fel y sarff, "Pwy a wnaeth y gwiail yn seirff? O ïe, dyna'r cwestiwn: nid yw y Beibl yn dweyd hyny: yr hyn a ddywed y Beibl yw, "*hwy a* AETHANT *yn seirff*." O ganlyniad, ni wnaeth Aaron un wyrth,—dim ond taflu ei wialen; ac ni wnaeth y swynwyr ychwaith un wyrth—dim ond taflu eu gwiail, yr hyn a allai pawb wneuthur!

Yr oedd cyfrwysdra fel hyna yn burion i ddynion nad ydynt yn hyddysg yn ysgrifeniadau Moses, ond ni wna y tro i bawb. Er na ddywedir yn yr adnodau uchod pwy oedd yn gwneyd y gwyrthiau dan sylw, etto fe ddywedir hyny mewn man arall. Darllener yn Exod. iv, 17, 21, a cheir gweled fod Duw yn dweyd wrth Moses fel hyn: "Cymmer hefyd y *wialen* hon yn dy law, *yr hon y gwnai wyrthiau â hi*:" etto, "Pan elych i ddychwelyd i'r Aifft, *gwel i ti wneuthur gerbron Pharaoh yr holl ryfeddodau a roddais yn dy law*." Yn awr, beth sydd yn eglurach nâ bod Moses ac Aaron wedi cael gallu gan Dduw i gyflawni gwyrthiau trwy y wialen, ac mai Moses ac Aaron oedd yn troi y wialen yn sarff? A chan i'r swynwyr wneuthur *yr un modd* ag Aaron, rhaid mai hwythau ddarfu droi y gwiail yn seirff. Yr oedd Mr. Jones yn cyfaddef fod y swynwyr wedi gwneuthur cymmaint ag Aaron, eithr dywedai nad oedd Aaron wedi troi y wialen yn sarff, ac na wnaeth mwy nâ thaflu y wialen: ond gan fod yr ysgrythyr flaenorol yn profi i Aaron wneuthur gwyrth â'i wialen, mae yn canlyn yn naturiol, os gwnaeth y swynwyr gymmaint ag Aaron, fod y swynwyr hefyd wedi gwneuthur gwyrthiau â'u gwiail.

Yn awr, cawn droi i sylwi ar ochr arall, nid ochr arall y gwirionedd (canys, fel y sylwai Mr. Jones, un ochr sydd i hwnw), eithr ochr arall ag sydd yn cyd-filwrio ag ochr Mr. J., yn erbyn ochr y Saint. Mae yr ochr arall hono yn croesi cym-

maint ar ochr Mr. Jones, ag ydyw yn croesi ochr y Saint; etto, mae amcan y ddwy yr un peth, sef i geisio dadymchwelyd ochr y gwirionedd. Yr ochr y cawn sylwi arni yw eiddo y Parch. J. Davies, Llanelli, Brycheiniog, yr hon a welir yn nhud. 14 o'i lyfryn, ac a ddyfynir fel y canlyn:—"Gwyddir yn eithaf da, mai peth hawdd ydyw dofi seirff, neu ynte gallasent gael digon wedi tynu eu colynau; oblegid diau eu bod yn cael pob chwarae teg gan Pharaoh i wneyd pob darpariadau anghenrheidiol, oblegid yr oedd *ef lawn mor awyddus* â'i swynwyr am fod i fyny â Moses. Mae haneswyr yn dywedyd y gwnaiff llawer iawn o'r Indiaid yn bresennol, trwy offerynoliaeth seirff, heb gymmeryd arnynt wneyd unrhyw wyrth, bethau llawn mor rhyfedd ag a wnaeth swynwyr Pharaoh." Gwelir pa mor groes yw y ddau barchedig dysgedig hyn i'w gilydd, a pha mor groes ydynt ill dau i'r Beibl.

Diau ei fod yn wir y gall dynion ddofi seirff, tynu eu colynau, a gwneyd iddynt chwarae llawer o ystranciau, heb gyfrif hyny yn wyrth; ond nid oes hanes wedi dyfod i'n golwg ni etto, fod neb wedi cyflawni dim yn debyg i swynwyr yr Aifft, ond Moses ac Aaron. Nid gwiw i ni wrandaw ar opiniynau, canys y mae'r Beibl ei hun yn ddigon i dori y ddadl. Nid oes neb a ŵyr yn well am wyrthiau y swynwyr, nâ'r hwn a ysgrifenodd eu hanes. Yr oedd Moses yn llygad-dyst hefyd, ac wedi ei ddwyn i fyny yn holl ddysgeidiaeth yr Aifft; ac yr oedd yn sicr o fod yn gwybod, ac yntau yn wr Duw, pa beth a wnaeth y swynwyr, yn gystal ag y gwyddai y swynwyr eu hunain. A chan fod pobl yn gyffredin yn dueddol i gredu yn ngwirioneddolrwydd gwyrthiau swynwyr, nid yw yn rhesymol mewn un modd y buasai Moses yn peidio dangos twyll swynwyr yr Aifft, os na wnaethant hwy wir wyrthiau, ag ynte yn gwybod am dano. Nid yw y rheswm cyffredin a roddir fod yr enw *swynwyr (magicians*, neu *ddewiniaid)*, yr hwn a alwa Moses arnynt, yn ddigon i ddangos eu twyll; canys y mae'r enw ynddo ei hun yn arwyddo fod "ysbryd y duwiau santaidd ynddynt" (gwel Dan. iv, 7, 8; a v, 11), a dywedir hefyd fod Daniel yn "benaeth y dewiniaid" (*magicians*). Yr oedd y swynwyr, ynte, yn ddynion ag yr ystyrid eu bod yn cyfrinachu â'r duwiau, ac yr oedd fod Moses yn dweyd eu bod hwy wedi troi y gwiail yn seirff, yn brawf eu bod wedi cyflawni gwyrth-

iau. Nid ydyw haeru fod y swynwyr wedi "cael pob chwarae teg gan Pharaoh i wncyd pob darpariadau anghenrheidiol," yn ddim amgen nâ *nonsense*, pe buasai yn wirionedd, yr hyn nid yw; ond fe gafodd Moses bob chwarae teg, gan ei fod wedi cyflawni y wyrth o'r blaen. Yr oedd gwialen Aaron ar y llawr yn sarff, pan alwodd Pharaoh ar ei swynwyr gyntaf; ac mor fuan ag y troisant hwy eu gwiail yn seirff, dywedir i wialen Aaron lyncu eu gwiail hwynt; yr hyn sydd yn profi na chawsant hwy, mewn gwirionedd, nemawr amser at ddim; tra o'r ochr arall, y mae yn ymddangos i Moses ac Aaron gael llawer o amser.

Etto, megys ag y mae galluoedd y tywyllwch yn efelychu galluoedd y goleuni, yr oedd gan bob swynwr ei wialen, megys yr oedd gan Aaron; ac yn wir, ystyrir gwialen (neu *wand*) yn beth a feddianna pob swynwr; ac ymddengys i ni, yn ol yr hanes, fod swynwyr yr Aifft wedi dwyn eu gwiail ganddynt, cyn y gwyddent yr hyn a wnaeth Aaron. Wel, y *gwiail* hyny ynte, ac nid *seirff*, a fwriasant hwy; a'r *gwiail* "a *aethant* yn *seirff*," ac nid y seirff yn seirff. Yr oedd Moses yn y man, ac yn gweled beth oedd ganddynt; a'r hyn a ddywed efe oedd ganddynt, oedd *gwiail*, ac nid dim arall; ac os aeth gwialen Aaron yn sarff, mae yn ddiau i wiail y swynwyr fyned yn seirff. Yna "gwialen Aaron a lyncodd eu gwiail hwy;" ac felly y terfyna yr hanes. Wel, pa fodd yr adferodd Aaron ei wialen o fod yn sarff, canys yr oedd eisieu y wialen drachefn? Trwy estyn ei law, efallai, ac ymafael yn ei llosgwrn hi (Exod. iv, 4); a thebygol yw, mai trwy wneuthur yr un modd yr adferwyd gwiail y swynwyr, wedi bod yn mol y llall. Yn awr, wedi sylwi cymmaint â hyna ynghylch troi y gwiail yn seirff, cawn frysio at y wyrth nesaf, sef—

## II. TROI Y DYFROEDD YN WAED.

Mewn perthynas i'r wyrth hon etto, dywedai Mr. Jones na wnaeth Aaron ond taflu y wialen yn unig, a bod y swynwyr yn gwneuthur y "cyffelyb trwy eu swynion;" o ganlyniad, yr oedd y swynwyr yn taraw y dyfroedd â'u gwiail hefyd, ac yn gwneuthur yr un peth ag Aaron. Yn awr, gan ein bod wedi profi yn flaenorol fod y gallu i gyflawni gwyrthiau yn meddiant Moses ac Aaron, nid oes achos ychwanegu at hyn, ond yn unig

i'r swynwyr wneuthur yr un fath ag Aaron, sef troi y dyfroedd yn waed.

Wedi sylwi yn fyr fel hyna ar ochr Mr. Jones, cawn droi etto at ochr Mr. Davies, yn nhud. 14 o'i lyfryn, gan ddyfynu a ganlyn:—"Mae yn deilwng o sylw yma bod yr afonydd, a'r ffrydiau, a'r llynoedd, *wedi eu troi yn waed* gan Moses, a dywedir yn bendant iddynt barhau yn y sefyllfa hono, fel canlyniad i wyrth Moses, am saith o ddyddiau wedi i'r Arglwydd daro yr afonydd. Yn awr, yn ystod y saith diwrnod hwnw y gwnaeth swynwyr Pharaoh efelychu Moses, trwy droi dwfr yn waed; ac felly mae yn amlwg nad oedd 'afonydd, ffrydiau, pyllau, a llynoedd' ganddynt hwy i'w troi yn waed, ac ni ddywed y Beibl iddynt wneyd hyny; yr unig beth a ddywedir ydyw, iddynt wneyd 'yr un modd' â Moses; a chan i Moses droi yr holl ddyfroedd yn waed, mae yn amlwg nad oedd ganddynt hwy, ond gwneyd fel y gwnaeth yr Aifftiaid wedi hyny, sef cloddio pwll ar làn yr afon, ac naill ai troi y dyfroedd yn waed yno, neu godi peth o bwll o'r fath i lestri, a throi hwnw yn debyg i waed. Peth rhwydd iawn ydoedd hyn, i rai wedi eu dysgu a'u magu mewn cywreinrwydd o'r fath. Gwneir yn bresennol bethau llawer rhyfeddach gan chwareuwyr trwy rym celfyddyd a'i chyfrwysdra."

Mae yn ddrwg genym fod parchedigion mor anhyddysg yn yr ysgrythyr. Nid oes hanes i Aaron daraw mwy nâ'r "dyfroedd y rhai oeddynt yn yr afon, er iddo gael gorchymyn i daraw y ffrydiau, yr afonydd, y pyllau, a'r llynoedd. Os gellir profi yn wahanol, dymunwn weled y prawf. "A swynwyr yr Aifft a wnaethant y cyffelyb trwy eu swynion;" ac os felly, mae yn rhaid eu bod hwythau wedi taraw rhyw ddyfroedd neu gilydd â'u gwiail; o herwydd fe ddywed Moses iddynt wneuthur yr un modd ag Aaron. O ganlyniad, yr oedd yn rhaid eu bod hwy wedi gwneuthur hyny cyn bod "gwaed trwy holl wlad yr Aifft; neu pe gwnaethent hyny â'r dwfr a gloddiasid, gallai fod troi yr ychydig hyny yn waed, yn gymmaint o wyrth â'r ychydig ddwfr a drodd Iesu Grist yn win. Ond ymddengys i ni i Aaron a'r swynwyr droi y dyfroedd yn waed y diwrnod cyntaf. Dywedir wrth Moses am fyned at Pharaoh yn *foreu*, erbyn y deuai *allan* at y dwfr (gwel pen. vii, 15); ac wedi i Pharaoh weled Aaron a'r swynwyr yn troi y dwfr yn waed,

dywedir am dano yn adn. 23, "A Pharaoh a drodd ac a aeth i'w *dŷ*, ac ni osododd hyn at ei galon." Hefyd, ymddengys mai o hyny allan y bu yr Aifftiaid yn cloddio am ddwfr oddi amgylch yr afon. "A chyflawnwyd saith o ddyddiau, *wedi* i'r Arglwydd daraw yr afon," cyn y gorchymynodd i Moses gyflawni gwyrth arall; a gallai y dwfr fod wedi aros yn waed yn hŵy nâ hyny, o ran dim a ddywedir i'r gwrthwyneb. Yn awr, nid peth rhwydd iawn ydoedd troi y dwfr yn waed, yr un modd ag Aaron, trwy ei daraw yn unig â gwialen; ac nid peth rhwydd iawn yw profi na ddywedodd Moses y gwirionedd; ac os dywedodd y gwirionedd, mae yn ddiddadl fod y swynwyr wedi troi y dwfr yn waed; ond gan fod Aaron wedi cael y cynnyg cyntaf, nis gellid dysgwyl i'r swynwyr droi cymmaint o ddwfr ag Aaron, gan nad oedd nemawr efallai heb ei droi ganddo ef; ac os trodd Aaron fwy o ddwfr yn waed nâ'r swynwyr, etto fe drodd y swynwyr fwy o wiail yn seirff nag Aaron. Ond brysiwn at y wyrth nesaf etto, fel y gallom wybod pa beth a ddywedir ynghylch

III. TARAW Y WLAD A LLYFFAINT.

Yr oedd sylwadau Mr. Jones ynghylch y llyffaint yn gyffelyb i'w sylwadau ynghylch troi y gwiail yn seirff, a'r dwfr yn waed. Dywedai na wnaeth Aaron fwy nâ tharaw dyfroedd yr Aifft â'i wialen, ac yna i'r llyffaint ddyfod i fyny; a dywedai hefyd, yn iaith yr ysgrythyr, "A'r swynwyr a wnaethant *yr un modd*," sef taraw â'u gwiail fel Aaron, wrth gwrs. Wel, gan i Aaron wneuthur gwyrthiau â'i wialen, fel y profasom o'r blaen, yna fe wnaeth y swynwyr wyrthiau hefyd â'u gwiail, gan iddynt wneuthur "yr un modd" ag Aaron.

Ond y mae Mr. Davies yn gwrthwynebu sylwadau ei gyfaill, ac yn dangos o hyd fod dwy ochr yn erbyn un ochr y Saint. Dyfynwn a ganlyn etto o dud. 14 a 15 o'i lyfryn:—"Y drydedd wyrth i Moses, a'r olaf i'r Aifftiaid, ydoedd *llanw y wlad â llyffaint.* Gan fod Moses wedi llanw pob man â hwynt, gwelir yn eglur bod yn rhaid gwaghau rhyw fan, er i'r swynwyr gael lle i ddwyn allan eu llyffaint hwy; a phan oedd y fath gyflawnder o honynt yn mhob man, peth hawdd iawn i'r swynwyr ydoedd twyllo yr edrychwyr, y rhai oeddynt oll yn bleidiol iddynt hwy, oddigerth Moses ac Aaron, trwy gasglu cronfa o'r llyff-

aint, a'u dwyn i ryw fan mewn ffordd gywrain a dirgelaidd, fel y gwna "chwareuwyr yn barhaus."

Yn awr, er ateb y parchedig hwn etto, cawn ddyfynu yr hanes. "Yr Arglwydd hefyd a ddywedodd wrth Moses, Dywed wrth Aaron, Estyn dy law â'th *wialen* ar y ffrydiau, ar yr afonydd, ac ar y llynoedd; a *gwna* i lyffaint ddyfod i fyny ar hyd tir yr Aifft. Ac Aaron a estynodd ei law ar ddyfroedd yr Aifft; a'r llyffaint a ddaethant i fyny, ac a orchuddiasant dir yr Aifft. A'r swynwyr a *wnaethant yr un modd*, trwy eu swynion; ac a ddygasant i fyny lyffaint ar wlad yr Aifft." (Gwel Exod. viii, 5—7.) Yn awr, nis gallai Aaron fod yn taraw yr afonydd, y ffrydiau, a'r llynoedd yr un pryd, canys yr oedd yn rhaid cael amser at hyny; ac felly fe allai y swynwyr gael cyfleusdra da i wneuthur "yr un modd." Eithr pe buasai Moses wedi llanw y wlad â llyffaint, cyn i'r swynwyr dreio eu llaw, yr oedd digon o le wed'yn, serch pe byddai raid i lyffaint y swynwyr fyned ar gefnau y lleill. Ond gyda golwg ar hyny, Moses oedd yn gwybod oreu; eithr ni ddywed ef i'r swynwyr "ddwyn i fyny lyffaint ar wlad yr Aifft," os nad oedd lle iddynt: o ganlyniad, yr oedd lle iddynt, ac fe ddygasant hwythau lyffaint i fyny, yn "yr un modd" ag Aaron, sef trwy daraw y dyfroedd â'u gwiail, yr hyn oedd yn gystal gwyrth ag a wnaeth Aaron, yn ol cyflawnder y llyffaint. Ai tybied nad oedd Moses ysbrydoledig yn sicr o'r hyn a welodd, ond bod Mr. Davies, Brycheiniog, yn gwybod yn well? Cato pawb!

Ond efallai fod rhywun yn barod i ddweyd, mai "*trwy eu swynion*" y gwnaeth y swynwyr y cyfan, ac nid yn yr un modd ag Aaron. Wel, mae hyny yn brawf ynte, mai nid Duw a wnaeth wyrthiau y swynwyr, fel yr awgrymai Mr. Jones, eithr hwy eu hunain, trwy eu swynion. Eithr ymddengys i ni mai swyno hefyd a wnaeth Moses ac Aaron, gyda hyn o wahaniaeth, fod eu swyn hwy o Dduw, a swyn y lleill o'r diafol: oblegid ni allai neb ymddangos yn debycach i swynwr, nâ dyn yn cario gwialen fel Aaron, yr hwn a efelychid gan swynwyr yr Aifft. Pan daflodd Aaron ei wialen, er mwyn ei throi yn sarff, y swynwyr a daflasant eu gwiail hwythau, "trwy eu swynion," a hwy oll a aethant yn seirff. Felly hefyd, pan darawodd Aaron y dyfroedd â'i wialen er eu troi yn waed, ac er dwyn llyffaint i fyny, y swynwyr a wnaethant yr un modd trwy eu

gwiail hwythau, a'u swynion. Felly, gwelwn fod Aaron ac hwythau yn hollol debyg, ac nad oedd neb o honynt yn gwneuthur rhywbeth yn y cornel.

Etto, "nid oedd," medd Mr. Davies, yn nhud. 15, "o fewn gallu y swynwyr i ddifa y llyffaint, neu ynte ni buasai Pharaoh yn dymuno ar Moses eu symud ymaith. Mae y rheswm o hyn yn amlwg; buasai y bobl yn edrych yn rhy fanwl arnynt. Gallasent barotoi y llyffaint yn ddystaw a dirgelaidd, heb yn wybod i neb; ond nis gallasent eu cymmeryd ymaith drachefn, heb i'w twyll ddyfod i'r golwg. Pe y gallasent eu dileu, buasai eu gwyrth yn ddiammheuol."

Yn ateb i hyna, dywedwn nad oedd yn deg i geisio gan y swynwyr i symud gwyrth a gyflawnodd Duw trwy law Moses ac Aaron; a phe gwnelai y swynwyr ddileu gwyrthiau Moses, buasent yn buddugoliaethu ar Dduw. Digon i bawb gan hyny yw dadwneyd gwaith eu hunain. Ond pe buasai y swynwyr yn dadwneyd eu gwyrth hwy eu hunain, ni fuasai Pharaoh nemawr gwell, tra y buasai y fath gyflawnder o lyffaint ar ol o waith Moses ac Aaron. Dichon y cyffyrddwn â hyn etto, wrth sylwi, yn olaf, ar

IV. TARAW Y LLWCH YN LLAU.

Mewn perthynas i hyn, efallai mai y peth goreu yw dyfynu hanes Moses yn gyntaf, yr hwn sydd fel y canlyn:—"Aaron a estynodd ei law â'i wialen, ac a darawodd lwch y ddaear; ac efe a aeth yn llau ar ddyn ac ar anifel: holl lwch y tir oedd yn llau trwy holl wlad yr Aifft. A'r swynwyr a *wnaethant felly*, trwy eu swynion, i ddwyn llau allan; *ond ni allasant*: felly y bu y llau ar ddyn ac ar anifel. Yna y swynwyr a ddywedasant wrth Pharaoh, *Bys Duw yw hyn*: a chaledwyd calon Pharaoh, ac ni wrandawai arnynt."

Mewn cyssylltiad â hyn, sylwai Mr. Jones i'r swynwyr wneuthur yr un modd ag Aaron, sef taraw y llwch â'u gwiail, —ond iddynt fethu dwyn llau allan, o herwydd na wnaeth Duw ddim yn eu lle y tro hwn, yr hyn a achosai i'r swynwyr fe ddichon ofyn i'w gilydd, Ai tybied i ni wneuthur rhywbeth? gadewch i ni dreio etto, &c. Gan hyny, golygai Mr. Jones na wnaeth y swynwyr ddim, oddieithr gwneyd efelychiad o Aaron, trwy daraw â'u gwiail, ac mai Duw yn unig oedd yn cyflawni gwyrthiau y ddwy blaid.

Etto, Mr. Davies drachefn, yn nhud. 15 o'i lyfryn, a ddywed fel hyn:—"Yma yr aeth gwir wyrth yn rhy ogoneddus i'w hefelychu gan dwyll; ond pe trwy satan y gweithredasai y swynwyr, nis gallwn ddirnad paham nas gallasai wneyd llau mor rhwydd â gwneyd llyffaint."

Yn awr, cawn ninnau ddweyd ein meddwl, a rhoddi ein rhesymau o flaen ein darllenwyr, er iddynt hwy farnu drostynt eu hunain. Ymddengys i ni, wedi i Aaron daraw y llwch â'i wialen, a chynnyrchu llau, i'r swynwyr hwythau wneuthur yr un

modd â'u gwiail, gan fod yr un mor benderfynol ag o'r blaen, i droi y llwch yn llau, yr hyn nid oedd yn fwy o'wyrth nâ throi y gwiail yn seirff, neu y dwfr yn waed, neu ddwyn y llyffaint i fyny: ond trwy ryw achos neu gilydd, nis gallasent. Pe gwybyddent hwy nas gallent cyn treio, nid yw yn debyg y gwnelent unrhyw gynnyg, gan y buasai hyny yn iselhau eu cymmeriad, a gwell fuasai gwneyd rhyw esgus cyn treio, nac ar ol hyny. Ond gan mai trwy alluoedd y tywyllwch y cyflawnai y swynwyr eu gwyrthiau, nid yw yn rhesymol y goddefai Duw iddynt wneuthur pob peth a ewyllysient, oblegid y mae yr ysbrydion drwg mewn rhyw fath o "gadwynau," fel na allant wneyd pob peth a ewyllysiant, heb ganiatâd neu oddefiad Duw; ac fel enghraifft o hyny, nodwn yr hanes am Satan yn gofyn cenad i wneyd gwyrthiau ar Job. (Gwel Traethawd I.) Wel, wedi i'r swynwyr fethu, dywedasant wrth Pharaoh, "*Bys Duw yw hyn*," oblegid (fel pe dywedent) ni a wnaethom gymmaint â hyna, os nid mwy, y troion o'r blaen; ac o ganlyniad, mae yn yn rhaid mai Duw sydd yn ein rhwystro i wneyd y wyrth hon, i ateb rhyw ddyben o'i eiddo ef. Mae yn eglur iddynt ddweyd mai "bys Duw" oedd hyny, o herwydd iddynt hwy gael eu rhwystro, ac nid oblegid fod y wyrth hono o eiddo Aaron yn fwy nâ'r lleill, canys nis gallwn farnu ei bod.

Os gofynir paham y gadawai Duw i swynwyr wneyd gwyrthiau er gwrthwynebu ei weision, atebwn mai er mwyn caledu calon Pharaoh, a dangos gallu goruchel Duw yn y pen draw. A chan fod Duw yn caniatâu i ddynion drwg i bregethu, nis gallwn ddeall paham nas caniatâ iddynt wneyd gwyrthiau hefyd, er ateb gwahanol ddybenion gan Dduw.

Bellach, gwelwn fod yn rhaid i ni derfynu ein sylwadau ynghylch gwyrthiau swynwyr yr Aifft, gan hyderu ein bod wedi goleuo meddwl y darllenydd, fod gwyrthiau yn alluadwy i alluoedd y tywyllwch a dynion drwg i'w cyflawni, yr hyn y mae llawer o ysgrifenwyr galluog yn credu fel ninnau.

---

## § II.—Y DDEWINES O ENDOR YN CYFODI SAMUEL.

Ni wnaeth Mr. Jones un sylw o wyrth y Ddewines o Endor, er ei fod wedi addaw gwneyd; eithr y mae y Parch. J. Davies, yn ei lyfryn, tud. 12, yn sylwi fel y canlyn:—

"Am hanes Saul a'r Ddewines o Endor, nid ydym yn canfod yn yr amgylchiad, yr un angenrheidrwydd i'w esbonio trwy dybied gwyrth. Gorchymyn pendant yr Arglwydd dan yr hen oruchwyliaeth, ydoedd lladd dewiniaid ; ac a ydyw yn debyg y buasai ef yn cefnogi yn ddirgel yr hyn a gollfarnai yn gyhoeddus? Mae y fath olygiad yn anghysson â chymmeriad Duw, ac felly yn anoddefadwy. Yr oedd yr Arglwydd, yn ol tystiolaeth bendant y Beibl, wedi pallu rhoddi un math o ateb i ofynion Saul. 'A phan ymofynai Saul â'r Arglwydd, nid

atebodd yr Arglwydd iddo na thrwy freuddwydion, na thrwy urim, na thrwy brophwydi.' Yn wyneb hyn, pan wedi pallu ateb trwy ei gyfryngau arferol, a ydyw yn naturiol casglu y gwnelai ateb trwy dwyll-wraig a felldithid gan ei gyfraith ei hun? Gwnaiff cyfrwysdra a dichell medrus a chywrain o eiddo y Ddewines esbonio y cyfan. Gan ei bod yn byw mor agos ac mor adnabyddus i bawb agos, mae tuhwnt i ammheuaeth y gwyddai sut ddyn ydoedd Samuel, a pha beth ydoedd wedi gyhoeddi yn erbyn Saul; gwyddai hefyd bod glewder Saul wedi ei adael, a bod byddinoedd nerthol i'w cyfarfod, ac felly gwelai yn amlwg y daethai geiriau Samuel i ben; ac felly cymmerai arni gydsynio â chais Saul; ac er mwyn dangos ei bod yn ddidwyll, ffugiai arswydo a dychrynu gan ofn; a phan ofynodd Saul pwy ydoedd yno, rhoddodd ddarluniad o berson tebyg i Samuel; a thrwy dwyll-siaradaeth, ail gyhoeddai sylwedd yr hyn a ddywedodd Samuel pan yn fyw. Nid oes un lle i gasglu i Saul weled neb, ond iddo wrth ddarluniad y Ddewines gredu mai Samuel ydoedd yno. Hefyd, ar hyd y nos y cymmerodd y cyfan le, yr hyn a ychwanegai y fantais at dwyllo."

Yn awr, yn flaenorol i wneuthur sylwadau o eiddo ein hunain, erfyniwn ar y darllenydd i ddarllen yn fanwl yr hanes a roddir yn 1 Sam. xxviii, 7—25, yr hwn sydd fil mwy eglur nag un esboniad o eiddo dynion anysbrydoledig, y rhai ydynt yn gwyrdroi yr ysgrythyrau, er mwyn boddio eu mympwyon eu hunain. Mae yr hanes yn eithaf dealladwy fel y mae yn y Beibl, i bob darllenydd diduedd; ac ni fuasai achos i ni wneyd unrhyw sylwadau yn ei gylch, oni bai fod dynion yn credu mwy yn eu hesboniadau nag yn eu Beibl.

Wel, cawn sylwi yn gyntaf fod y "wraig o berchen *ysbryd* dewiniaeth," ac felly yn meddu gallu goruwch-naturiol; ac y mae yn ddiau fod gwr fel Saul yn eithaf gwybodus o'i galluoedd, am ei fod cyn hyny wedi bod yn dyfetha y swynyddion a'r dewiniaid o'r wlad, nid oblegid eu twyll, ond oblegid eu bod yn ffiaidd gan yr Arglwydd. Wedi methu cael ateb gan yr Arglwydd yn y ffordd arferol, efe a feddyliodd am gyfodi Samuel (yr hyn a wyddai efe y gallai gwraig o berchen ysbryd dewiniaeth ei wneuthur), fel y gallasai ymgynghori â Samuel. Yna, wedi ymddyeithrio, efe a dau arall a aethant at y wraig *liw nos*, fel na adnabyddai hi pwy ydoedd Saul; ac ar ol i Saul sicrhau wrthi na ddygwyddai niwed am y peth, hi a ofynodd iddo, "Pwy a ddygaf i fyny atat ti?" (yr hyn a brawf ei bod yn barod i ddwyn i fyny pwy bynag a enwai ef). A dywedodd yntau, "Dwg i mi Samuel i fyny." Yna "y wraig a *ganfu* Samuel, ac a lefodd â llef uchel," gan ddywedyd wrth Saul, "Paham y twyllaist fi? canys ti yw Saul." Yn awr, fe ddywed yr ysgrifenwr ysbrydoledig i'r wraig *ganfod* Samuel, ac nid rhyw rith o'i ganfod; ac ymddengys mai yr achos iddi lefain oedd, oblegid iddi gael allan mewn rhyw fodd mai Saul

wedi ymddyeithrio, oedd y gwr a ddaeth ati, yr hwn a ystyriai hi y gelyn penaf a feddai. Gyda hyny, dywedai Saul wrthi am beidio ofni, gan ofyn pa beth ydoedd wedi weled ; ac atebodd hithau, "Gwr hen sydd 'yn dyfod i fyny, a hwnw yn gwisgo mantell." "A *gwybu* Saul mai Samuel oedd ; ac efe a ostyngodd ei wyneb i lawr, ac a ymgrymodd. A Samuel a ddywedodd wrth Saul, *Paham yr aflonyddaist arnaf, gan* BERI *i mi ddyfod i fyny?* A dywedodd Saul, "Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi : canys y mae y Philistiaid yn rhyfela yn fy erbyn i, a Duw a giliodd oddiwrthyf fi, ac nid yw yn fy ateb mwyach, na thrwy law prophwydi, na thrwy freuddwydion: am hyny y gelwais arnat *ti*, i hysbysu i mi beth a wnawn." Yn awr, os mai "twyll-siaradaeth" yw hyn, twyll-siaradaeth y Beibl ydyw, ac nid eiddo y ddewines. Ac os mai ein twyllo y mae yr hanesydd ysbrydoledig, y mae efe yn llawn cynddrwg â'r ddewines ei hun; ond nid ydym ni yn credu felly am dano. Pe buasai Saul wedi cael ei dwyllo, mae yn rhesymol y cawsai hyny ei nodi yn eglur, rhag i ereill gael eu twyllo gydag ef. Ond nid oes lle i feddwl hyny, canys y mae yn rhesymol i gredu fod Saul yn gwybod yn dda beth a allasai y ddewines ei gyflawni, cyn myned ati; a'r achos iddo fyned ati oedd, o herwydd nas gallasai gael gwybodaeth mewn un ffordd arall. Yn wir, y mae yr holl hanes yn profi i bob peth gymmeryd lle yn gywir fel y dywedir ; ac y mae yn ddiraddiad o'r mwyaf ar weision ysbrydoledig Duw, i farnu na wyddent hwy pa fodd y bu ynghylch y Ddewines o Endor a Saul, yn gystal â phob hanes arall a ysgrifenent.

Eithr gadewch i ni etto sylwi pa beth oedd yr ateb arall a roddodd Samuel i Saul. "Paham, gan hyny," meddai efe, yr ydwyt ti yn ymofyn â mi, gan i'r Arglwydd gilio oddi wrthyt, a bod yn elyn i ti? Yr Arglwydd yn ddiau a wnaeth iddo [fel pe buasai Samuel yn awr yn llefaru wrth y lleill oedd yn bresennol], megys y llefarodd trwy fy llaw i: canys yr Arglwydd a rwygodd y freniniaeth o'th law di, ac a'i rhoddes hi i'th gymmydog, i Ddafydd [gwel 1 Sam. xv, 24—28]. O herwydd na wrandawaist ti ar lais yr Arglwydd, ac na chyflawnaist lidiawgrwydd ei ddigter ef yn erbyn Amalec; am hyny y gwnaeth yr Arglwydd y peth hyn i ti y dydd hwn. Yr Arglwydd hefyd a ddyry Israel gyda thi yn llaw y Philistiaid ; ac y *fory y byddi di a'th feibion gyda mi:* a'r Arglwydd a ddyry wersylloedd Israel yn llaw y Philistiaid." Yn awr, ai nid yw y brophwydoliaeth hon ei hun yn ddigon er profi bod Samuel wedi ei gyfodi, a'i fod yn llefaru wrth Saul? oni chafodd y cyfan ei gyflawni yn llythyrenol? Ac ai tybied mai y ddewines a brophwydodd bethau fel hyn wrth Saul, a hithau ar yr un pryd yn ei ofni mor enbyd? Na, mae yn fwy tebyg y buasai yn llefaru rhywbeth mwy dengar, rhag gosod ei heinioes mewn mwy o enbydrwydd nag oedd eisieu, canys yr oedd mewn digon o enbydrwydd yn barod (trwy ufyddhau i gyfodi Samuel), heb achos

iddi lefaru dim. Ond nid yw yn debyg y gallasai gwraig efelychu siarad Samuel i'r fath raddau ag i dwyllo Saul, yr hwn a adwaenai Samuel mor dda.

Ond etto dadleuir nad "oes lle i gasglu i Saul weled neb." Wel, os na welodd efe neb, etto efe a "*wybu*" fod Samuel yno; ac nid rhyfeddod mawr fuasai i ddyn "*a ostyngodd ei wyneb i lawr*" fethu gweled yr hwn oedd yn sefyll o'i flaen. Eithr os na welwyd Samuel gan Saul, etto yr oedd yn rhwydd i'w weision ei weled, y rhai oeddynt gydag ef yn nhŷ y ddewines, fel y gwelir yn adn. 23.

Etto, cyfodir dadl arall hefyd, sef, "A ydyw yn debyg y buasai Duw yn cefnogi yn ddirgel yr hyn a gollfarnai yn gyhoeddus," gan gyfeirio at y gorchymyn pendant i ladd dewiniaid? Atebwn, nac ydyw; ac ni wnaeth Duw ychwaith gefnogi yn ddirgel yr hyn a gollfarnai yn gyhoeddus, mewn cyssylltiad â gwyrth y Ddewines o Endor. Yr oedd mynediad Saul at y ddewines yn groes i ewyllys Duw; etto, ni wnaeth Duw ei rwystro, eithr cafodd wneuthur yn ol ei ewyllys ei hun. Ac er profi nad oedd Duw yn cefnogi yn ddirgel yr hyn a gollfarnai yn gyhoeddus, darllenwn yr adnod ganlynol:—"Felly y bu farw Saul, am ei gamwedd a wnaethai efe yn erbyn yr Arglwydd, sef yn erbyn gair yr Arglwydd yr hwn ni chadwasai efe, ac *am iddo ymgynghori â dewines, i ymofyn a hi;* ac heb ymgynghori â'r Arglwydd" (1 Chron. x, 13).

Ond clywch etto beth a ddywed Mr. Davies, yn nhud. 13:—"Mae adnod yn y gair dwyfol yn ymddangos i ni, yn profi tuhwnt i ammheuaeth mai twyll ydoedd y cyfan: 'A phan ddywedant wrthych, Ymofynwch â'r swynyddion, ac â'r dewiniaid, y rhai sydd yn hustyng, ac yn sibrwd: onid â'u Duw yr ymofyn pobl? dros y byw at y meirw?'" (Esay viii, 19). Yn awr, os gwir yw haeriad ein parchedig, mae un rhan o'r ysgrythyr yn profi twyll rhan arall, yr hyn nis gallwn gredu. Mae yn wir mai *â'u Duw* y dylai pobl ymofyn, ond nid â Duw yr ymofynodd Saul; ac etto fe gafodd ef ei ddymuniad, yr hyn oedd gwybodaeth oddiwrth y marw. Etto, "mae diwedd yr adnod," medd Mr. D. (os yw yn ei deall, yr hyn a ammheuwn ni yn fawr), "yn ofyniad wedi ei fwriadu i ddangos ffolineb y fath arferiad." Ond gwrandewch hyn; yr oedd diwedd Saul yn dangos ffolineb y fath arferiad, yn gystal â hyny: eithr wedi y cwbl, mae yn ddiddadl i'r ddewines gyflawni gwyrth, serch fod yr arferiad yn ffol, fel pob arferiad arall o eiddo plant y tywyllwch.

Bellach, terfynwn y traethawd hwn etto, gan adael ein darllenwyr yn farnwyr, ac addaw dechreu yr un nesaf â "*Diwedd y Byd, a Dinystr Jerusalem.*"

*Merthyr, Meh.* 19, 1852.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 5.] [PRIS 1g.

# TRAETHODAU
AR
# WYRTHIAU,
YN CYNNWYS
ADOLYGIAD AR DDARLITHIAU Y PARCH. J. JONES, LLANGOLLEN, A LLYFRYN Y PARCH. J. DAVIES, LLANELLI, AR YR UN PWNC.

GAN JOHN DAVIS, MERTHYR.

## TRAETHAWD V.

### §I.—"DIWEDD Y BYD," A DINYSTR JERUSALEM.

DYWEDAI Mr. Jones, Llangollen, yn un o'i ddarlithiau, fod yr "arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant" yn nghommissiwn Marc (xvi, 15—20), i'w cymmeryd mewn cyssylltiad â'r geiriau, "Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd *ddiwedd y byd*," yn nghommissiwn Mathew (xxviii, 19, 20), a bod "diwedd y byd" yn llywodraethu y cwbl. Hefyd, dywedai fod dau air yn y Groeg am y "byd" Cymraeg, sef *cosmos*, y byd gweledig, ac *aiôn*, goruchwyliaeth, neu drefn bresennol pethau; ac mai yr un gair, sef *aiôn*, sydd yn Heb. ix, 26, ("Yr awrhon unwaith yn niwedd y *byd* yr ymddangosodd efe"), ag sydd yn "niwedd y *byd*" gyda Mathew (xxviii, 20). Efe a ddywedai hefyd fod y ddau "ddiwedd byd" hyn, yn golygu diwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig, neu ddinystr Jerusalem; ac mai hyd ddinystr Jerusalem yr addawodd Crist i fod gyda'i ddyscyblion; ac o ganlyniad, mai hyd hyny yr oedd y gwyrthiau neu yr arwyddion i ganlyn y credinwyr. Y mae *credu*, meddai ef, i fod hyd ddiwedd y *cosmos*, ond nid oedd gwyrthiau i fod ar ol diwedd yr *aiôn*. Ac efe a ddywedai hefyd i Grist fod gyda ei ddyscyblion yn bersonol, amryw droion, trwy esgyn a disgyn ar ddydd yr Arglwydd, hyd ddinystr Jerusalem; ac mai dim ond ei Ysbryd Glân yn unig oedd i fod gyda'i ddyscyblion o hyny allan.

Yn awr, dyna ni wedi rhoddi sylwedd yr hyn a draddododd Mr. Jones ynghylch parhad yr arwyddion neu y

gwyrthiau hyd "ddiwedd y byd," neu ddinystr Jerusalem; ac yn ateb iddo ymdrechwn brofi y gosodiadau canlynol:—

I. Mai nid diwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig, neu ddinystr Jerusalem, a feddylir wrth "ddiwedd y byd," mewn unrhyw fan yn y Testament Newydd.

II. Mai geiriau hollol wahanol i "ddiwedd y byd" a ddefnyddir er gosod allan ddinystr Jerusalem.

III. Na fu Iesu Grist yn bersonol gyda'i ddyscyblion hyd ddinystr Jerusalem, ond fod yr arwyddion yn canlyn yr un fath.

IV. Na ddygwyddodd unrhyw ddyfodiad o eiddo Crist pan ddinystriwyd Jerusalem.

(I.) Y gosodiad cyntaf yw,—*Mai nid diwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig, neu ddinystr Jerusalem, a feddylir wrth* "ddiwedd y byd," *mewn unrhyw fan yn y Testament Newydd.*

Mae yn rhaid i ni ddweyd gyda Mr. Jones, fod dau air Groeg am y "*byd*" Cymraeg, sef *cosmos* ac *aiôn*; eithr ymddengys i ni, trwy gymharu y Testament Groeg a Chymraeg, eu bod yn y rhan fwyaf o enghreifftiau yn hollol o'r un ystyr. Mae y gair *cosmos* i'w weled yn y Testament Groeg oddeutu 84 o weithiau, a chyfieithir ef *byd* yn agos yn mhob man; ond nid yw y *byd* hwnw yn mhob lle yn meddwl yr un peth, fel y gwelir yn yr adnod hon,—"Yn y byd (*cosmos*) yr oedd efe, a'r byd (*cosmos*) a wnaethwyd trwyddo ef; a'r *byd* (*cosmos*) nid adnabu ef." Gwelir yma fod y trydydd *byd* yn wahanol i'r lleill, canys golyga *drigolion* y byd, fel y gwelir hefyd yn Ioan xvi, 8, 33, ac amrywiol fanau ereill; ond nis gwyddom fod y gair *aiôn* (yn ei wahanol derfyniadau), gymmaint ag unwaith yn myned am drigolion y byd, fel *cosmos*, er ei fod yn myned am y byd gweledig yn gymhwys yr un fath â'r gair hwnw, fel y dangosa yr enghreifftiau canlynol:—

Math. xii, 32, "Nis maddeuir iddo, nac yn y 'byd' hwn, nac yn y byd a ddaw."
,, xlii, 22, "Ac y mae gofal y 'byd' hwn."
,, ,, 39, "A'r cynhauaf yw diwedd y 'byd,' a'r medelwyr yw yr angylion."
,, ,, 40, "Felly y bydd yn niwedd y 'byd' hwn."
,, ,, 49, "Felly y bydd yn niwedd y 'byd:' yr angylion a ânt allan, ac a ddidolant y rhai drwg o blith y rhai cyfiawn."
,, xxiv, 3, "Mynega i ni pa bryd y bydd y pethau hyn? a pha arwydd fydd o'th ddyfodiad, ac o ddiwedd y 'byd?'"
Marc iv, 19, "Ac y mae gofalon y 'byd' hwn"
,, x, 30, "Ac yn y 'byd' a ddaw, fywyd tragywyddol."
Luc i, 70, "Megys y llefarodd trwy enau eu santaidd brophwydi, y rhai oedd o ddechreuad y 'byd.'"

Luc xvi, 8, " Oblegid y mae plant y 'byd' hwn yn gallach yn eu cenedlaeth nâ phlant y goleuni."
,, xviii, 30, " Ac yn y 'byd' a ddaw fywyd tragywyddol."
,, xx, 34, 35, " Plant y 'byd' hwn sydd yn gwreica, ac yn gwra: eithr y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y 'byd' hwnw, a'r adgyfodiad oddiwrth y meirw, nid ydynt nac yn gwreica, nac yn gwra."
2 Cor. iv, 4, " Y rhai y dallodd duw y 'byd' hwn feddyliau y rhai digred."
Eph. i, 21, " Goruwch pob tywysogaeth, ac awdurdod, a gallu, ac arglwyddiaeth, a phob enw a enwir, nid yn unig yn y 'byd' hwn, ond hefyd yn yr hwn a ddaw."
,, iii, 9, " Yr hwn oedd guddiedig o ddechreuad y 'byd' yn Nuw."
,, vi, 12, " Yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y 'byd' hwn."
1 Tim. vi, 17, " Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y 'byd' yma."
2 Tim. i, 9, " Yr hwn a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu cyn dechreu y 'byd.'"
2 Tim. iv, 10, " Canys Demas a'm gadawodd, gan garu y 'byd' presennol."
Titus i, 2, " Yr hon a addawodd y digelwyddog Dduw cyn dechreu y 'byd.'"
Titus ii, 12, " Byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y 'byd' sydd yr awrhon."
Heb. i, 2, " Trwy yr Hwn hefyd y gwnaeth efe y 'bydoedd.'"
,, vi, 5, " A nerthoedd y 'byd' a ddaw."
,, xi, 3, " Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y 'bydoedd' trwy air Duw."

Yn awr, os dywedodd Mr. Jones, wrth adolygu un o'n darlithiau ni, mai dwy waith oedd *aiôn* yn peidio bod yn oruchwyliaeth, fe wel yn bresennol yn amgenach. Yr ydym wedi nodi pedair ar hugain o enghreifftiau o leiaf, a gallasem nodi llawer yn ychwaneg pe buasai anghen; ac yn yr holl enghreifftiau hyn, nis gellir gwneyd dim o'r *aiôn* yn amgen nâ'r byd gweledig; ac nid yw y gair hwn mewn unrhyw fan yn y Testament Newydd yn meddwl yr oruchwyliaeth Iuddewig; mae yn wir fod ychydig enghreifftiau o hono yn cael ei gyfieithu i *tragywyddoldeb*, *tragywyddol*, *oesoedd*, a *helynt* (gwel 1 Tim. i, 17; Eph. iii, 11; Col. i, 26; Eph. ii, 2); eithr yn mhob man arall, golyga y byd yn yr ystyr cyffredin, sef y byd gweledig. Etto, efallai y dywedai rhywun, ei fod yn Ioan ix, 32; Act. iii, 21; xv, 18, yn cael ei gyfieithu i *erioed*: gwir, ond nid goruchwyliaeth yw hyny, eithr " er dechreuad y byd" (*since the world began*), fel y gwelir yn y Testament Saesneg. Yn wir, y mae yr holl gyssylltiadau yn mha rai y defnyddir yr *aiôn* (byd), yn profi yn eglur na ellid ei gyfieithu yn oruchwyliaeth Iuddewig, neu ddinystr Jerusalem, heb fod yr ymadrodd yn myned yn ddisynwyr.

Ond fe ddichon mai y sail fwyaf neillduol sydd gan lawer i feddwl mai diwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig, neu ddinystr Jerusalem, a feddylir wrth " ddiwedd y *byd*," yw yr adnod a gan-

lyn:—"(Oblegid yna rhaid fuasai iddo yn fynych ddyoddef er dechreuad y byd), eithr yr awrhon unwaith yn *niwedd y byd* (*aionon*) yr ymddangosodd efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun" (Heb. ix, 26). Mae y gair gwreiddiol yma yn y rhif lliosog; ac os mai goruchwyliaeth yw *aion*, yna *goruchwyliaethau* yw *aionon*; o ganlyniad, ynte, ar "ddiwedd y *goruchwyliaethau*" yr ymddangosodd Crist, ac nid ar ddiwedd *un* oruchwyliaeth, sef yr un Iuddewig. Yn Nhestament y Parch. J. Williams, Drefnewydd, cyfieithir ef "ar ddiweddiad yr *oesau*;" ac yn y cyfieithad derbyniedig, cyfieithir yr un *aionon* yn 1 Cor. x, 11, yn "defynau yr *oesoedd*." Wel, pe gosodid "terfynau yr oesoedd" yn lle "diwedd y byd," yn yr adnod flaenorol, ni fuasai yn cyfnewid dim ar yr ystyr a roddir i "ddiwedd y byd" gan y cyffredin, canys diwedd yr oesoedd yw diwedd y byd gweledig presennol.

Eithr fe ddichon y cyfodir gwrthddadl yn y man yma, trwy ddweyd, Os mai nid diwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig, neu ddinystr Jerusalem, a feddylir wrth "ddiwedd y byd," pa fodd y gallai fod yn briodol dweyd "diwedd y byd," neu "ddiweddiad yr oesau," am yr amser yr ymddangosodd Crist i aberthu ei hun, pan y mae yr un geiriau yn gosod allan ddiwedd y byd gweledig presennol, mewn manau ereill? Er ateb yr wrthddadl hon, cawn yn gyntaf ddyfynu o 1 Cor. x, 11, "A'r pethau hyn oll a ddygwyddasant yn siamplau iddynt hwy, ac a ysgrifenwyd yn rhybydd i ninnau, ar y rhai y *daeth terfynau yr oesoedd* (AIÔNON)." Darllener hefyd 1 Pedr i, 20. Oddiwrth ymadroddion o'r fath, ymddengys i ni fod oes y byd, yn ngolwg Duw, yn cael ei chyfrif megys wythnos; canys "yr un peth hwn na fydded yn ddiarwybod i chwi, anwylyd, fod *un dydd* gyda'r Arglwydd megys mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd megys un dydd." Yn niwedd yr wythnos, ynte, sef ar y pummed dydd neu filflwydd, yr ymddangosodd Crist; ac yn ol iaith yr Arglwydd, nid oedd hyny ddim amgen nâ "*diwedd y byd*," neu "derfynau yr oesoedd." Bydd agwedd llawer o bethau yn cyfnewid ar ddiwedd y chwechfed fil, neu nos Sadwrn; canys dyna pryd y daw Iesu Grist yr ail waith, gyda myrddiwn o'i saint, ynghyd â'i angylion nerthol, i roddi dial ar y rhai anwir, trwy eu dyfetha â thân fflamllyd, fel na fyddo neb i aflonyddu heddwch y seithfed fil, yr hon a gedwir yn Sabboth santaidd i'r Arglwydd.

Yn awr, gan mai ar ddydd Gwener, neu y bummed fil, yr ymddangosodd Crist y waith gyntaf, a'i fod i ddyfod yr ail waith nos Sadwrn, "fel lleidr yn y *nos*," yna priodol iawn, yn iaith yr Arglwydd, oedd dywedyd, "Yn wir, yr wyf yn dyfod *ar frys*" (Dad. xxii, 20); "Dyfodiad yr Arglwydd a *neshaodd*"—"mae y Barnwr yn sefyll *wrth y drws*" (Iago v, 8, 9): "Wrth yr hyn y gwyddom mai yr *awr ddiweddaf ydyw*" (1 Ioan ii, 18); "Eithr a eglurwyd yn yr *amseroedd diweddaf* er eich mwyn chwi" (1 Pedr i, 20); "Chwi a gasglasoch drysor yn y *dyddiau diweddaf*" (Iago v, 3). Ond, meddai rhywrai, "Pa le y mae addewid ei ddyfodiad Ef," ynte? "canys er pan hunodd y tadau, y mae pob peth yn parhau fel yr oeddynt." "Eithr yr un peth hwn na fydded yn ddiarwybod i *chwi*, anwylyd [sef pobl Dduw], fod un dydd gyda'r Arglwydd megys mil o flynyddoedd, a mil o flynyddoedd megys un dydd. Nid yw yr Arglwydd yn oedi ei addewid (fel y mae *rhai* yn cyfrif oed), ond hir-ymarhous yw efe tuag atom ni, heb ewyllysio fod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch. Eithr dydd yr Arglwydd a ddaw megys lleidr yn y nos; yn yr hwn y nefoedd a ânt heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir" (2 Pedr iii, 4—10). Ymddengys wrth hyn, ynte, fod llawer y pryd hwnw yn dysgwyl y buasai *dyfodiad Crist*, neu ddiwedd y byd, yn cymmeryd lle yn eu hoes hwy; ond nid felly yr oedd i fod, er mai dyledswydd pawb oedd parotoi hyd y nod y pryd hyny. Ac er mwyn didwyllo pobl felly yr ysgrifenodd Paul yr hyn a ganlyn:—"Na sigler chwi yn fuan oddiwrth eich meddwl, ac na'ch cynhyrfer, na chan ysbryd, na chan air, na chan lythyr, megys oddiwrthym ni, fel pe *bai dydd Crist yn gyfagos*. Na thwylled neb chwi mewn un modd: oblegid NI DDAW Y DDYDD HWNW hyd oni ddêl YMADAWIAD yn gyntaf, a dadguddio y dyn pechod, mab y golledigaeth" (2 Thes. ii, 2, 3). Heblaw hyny, yr oedd yr adferiad o'r efengyl i gymmeryd lle, fel y gwelir yn Dad. xiv, 6; ac yr oedd hefyd i gael ei phregethu drachefn, er tystiolaeth i'r holl genedloedd; "ac yna y daw y *diwedd*," neu ddyfodiad Crist.

Etto, er mwyn cadarnhau ein gosodiad, mai nid diwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig a feddylir wrth "ddiwedd y byd," amcanwn brofi naill ai fod yr oruchwyliaeth Iuddewig wedi

diweddu cyn i Grist lefaru y commisiwn, neu ynte ei bod heb ddiweddu etto. Dywedodd Iesu Grist ei hun, yn Ioan xvi, 16, fel hyn :—"Y *gyfraith* a'r prophwydi oedd *hyd Ioan*: er y pryd hwnw y pregethir *teyrnas Dduw*, a phob dyn sydd yn ymwthio iddi." Yr oedd yr oruchwyliaeth Iuddewig, ynte, hyd Ioan; a'r oruchwyliaeth Gristionogol o hyny allan; canys nid yw yn rhesymol fod Duw yn sefydlu'y naill, cyn diddymu y llall, fel y deallir yn Math. v, 19—48. Os na ddiweddodd yr oruchwyliaeth Iuddewig, ar yr amser a nododd Crist, yna y mae heb ddiweddu etto; canys ni allai dinystr Jerusalem a'r deml fod yn ddinystr i'r grefydd Iuddewig, pan y mae yr Iuddewon hyd y dydd hwn yn ei chario yn y blaen. Nid goruchwyliaeth a ddinystriwyd yn ninystr Jerusalem, eithr dinas a phobl: sefydliad yr oruchwyliaeth newydd oedd yn diddymu yr hen, ac nid dinystriad Jerusalem; canys yr oedd Jerusalem wedi ei dinystrio rai troion cyn y tro diweddaf, eithr ni ddiweddodd yr oruchwyliaeth oblegid y dinystriadau hyny. Felly, mae yn amlwg, bellach, mai wrth "ddiwedd y byd" yn y commisiwn (fel ag yn mhob man arall braidd ag y defnyddir yr *aion*), y golygir diwedd bodoliaeth y byd yn y dull presennol.

(II.) Yr ail osodiad yw,—*Mai ymadroddion hollol wahanol i "ddiwedd y byd" sydd yn gosod allan ddinystr Jerusalem.*

Er mwyn profi hyn, cawn ddyfynu yr hyn a ddywedodd Iesu Grist yn y deml, sef, "Wele, yr ydys yn gadael eich *tŷ* i chwi yn *anghyfannedd.* Canys meddaf i chwi, Ni'm gwelwch ar ol hyn, hyd oni ddywedoch, Bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd" (Math. xxiii, 38, 39). Yna, mae yr adnodau dilynol yn dweyd fel hyn:—"A'r Iesu a aeth allan, ac a ymadawodd o'r deml: a'i ddyscyblion a ddaethant ato, i ddangos iddo adeiladau y deml. A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oni welwch chwi hyn oll? Yn wir meddaf i chwi, *Ni adewir yma gareg ar gareg, a'r ni ddattodir.*" Gwelir fod yma brophwydoliaeth eglur am ddinystr Jerusalem, fel nad oedd achos i neb gam-ddeall; ac y mae yma hefyd hysbysiad eglur am ail ddyfodiad Crist, yr hyn oll a ddeallodd y dyscyblion yn eithaf da; canys pan ddaethant hwy at Grist wedi hyny, yr hyn a ofynasant oedd, "*Pa bryd* y bydd y pethau? a *pha arwydd* fydd o'th ddyfodiad, ac o ddiwedd y byd?" Yr oeddynt hwy yn gwybod pa beth oedd i fod, a chan hyny ni ofynasant

am ddim ond am y pryd a'r arwydd. Ond er hyny, fe eglurodd Crist yn fanylach wrthynt drachefn ynghylch dinystr Jerusalem, yn gystal ag am ddyfodiad Crist a diwedd y byd. Mewn perthynas i ddinystr Jerusalem, dyweda fel hyn :—"Am hyny, pan weloch y ffieidd-dra anghyfanneddol, a ddywedwyd trwy Daniel y prophwyd, yn sefyll yn y lle santaidd (y neb a ddarlleno, ystyried); yna y rhai a fyddant yn Judea, a ffoant i'r mynyddoedd. Y neb a fyddo ar ben y tŷ, na ddisgyned i gymmeryd dim allan o'i dŷ: a'r hwn a fydd yn y maes, na ddychweled yn ei ol i gymmeryd ei ddillad. A gwae y rhai beichiogion, a'r rhai yn rhoi bronau, yn y dyddiau hyny. Eithr gweddiwch na byddo eich ffoedigaeth yn y gauaf, nac ar y dydd Sabboth. Canys y pryd hwnw y bydd *gorthrymder mawr*, y fath ni bu o ddechreu y byd hyd yr awr hon, ac *ni bydd* chwaith" (Math. xxiv, 15—21). A chyda golwg ar ddyfodiad Mab y Dyn, a diwedd y byd, dyweda drachefn fel hyn :—"Ac yn y fan *wedi* gorthrymder y dyddiau hyny, y tywyllir yr haul, a'r lleuad ni rydd ei goleuni, a'r sêr a syrth o'r nef, a nerthoedd y nefoedd a ysgydwir. Ac *yna* yr ymddengys *arwydd* Mab y Dyn yn y nef: ac yna y galara holl lwythau y ddaear, a hwy a *welant Fab y Dyn yn dyfod ar gymmylau y nef*, gyda nerth a gogoniant mawr. Ac efe a ddenfyn ei angylion â mawr sain udgorn ; a hwy a gasglant ei etholedigion ef ynghyd o'r pedwar gwynt, o eithafoedd y nefoedd hyd eu heithafoedd hwynt" (adn. 29—31). Yn awr, gwelir fod dyfodiad Crist i fod *wedi* dinystr Jerusalem, a bod amryw arwyddion i fod rhwng dinystr Jerusalem a dyfodiad Crist; ac "nid â y genedlaeth hon [ag a welo yr arwyddion hyny] heibio, hyd oni wneler hyn oll."

(III.) Y trydydd gosodiad yw,—*Na fu Iesu Grist yn bersonol gyda'i ddyscyblion hyd ddinystr Jerusalem, a bod yr arwyddion yn canlyn yr un fath yn ei absennoldeb.*

Er ymdrechu o Mr. Jones brofi i Iesu Grist fod gyda'i ddyscyblion yn awr ac eilwaith hyd ddinystr Jerusalem, etto mae y cyfan a ddywedodd yn gastell yn yr awyr, heb un sylfaen iddo; ac nid oes achos bod fawr amser cyn profi hyny. Yn awr, y mae hanes i Grist fod yn weledig i'r dyscyblion am ddeugain niwrnod (Act. i, 3); ac y mae hanes hefyd yn profi na fu yn weledig neb ar ol i Paul ei weled. Dywed Paul yn 1 Cor. xv, 8,

"Ac yn DDIWEDDAF oll y *gwelwyd* ef genyf finnau hefyd, megys gan un, annhymig." Ac yn awr, os mai ar ei ffordd i Damascus y gwelodd Paul ei Arglwydd, yna, yn ol yr hyn a ddywed y Parch. J. Brown, yn ei "Chronology of Facts," nid oedd mwy nâ *dwy*, neu bum mlynedd o bellaf, wedi myned heibio oddiar adgyfodiad Crist, cyn iddo lwyr adael ei ddyscyblion; tra na ddinystriwyd Jerusalem, yn ol barn yr un gwr dysgedig, cyn y flwyddyn 73 o oedran Crist! Felly, ni bu Crist yn bersonol gyda'i ddyscyblion ddim dros bum mlynedd o bellaf, tra y dylasai fod oddeutu deugain mlynedd, cyn y gallasai fod hyd ddinystr Jerusalem.

Yr oedd yr arwyddion, ynte, yn canlyn wedi i Grist adael y dyscyblion, yr un fath â chyn hyny, fel ag y gŵyr pawb sydd yn darllen eu Beibl; canys yr oeddynt yn canlyn Paul ei hun, ynghyd â'r eglwysi a blanodd, wedi i Grist ymddangos am y waith olaf. Mae yn rhaid, ynte, o ganlyniad, mae ystyr y geiriau, "Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd," yw, y buasai Efe gyda hwynt trwy y Dyddanydd arall, yr hwn a gai aros gyda hwynt yn dragywydd.

(IV.) Y gosodiad olaf yw,—*Na ddygwyddodd unrhyw ddyfodiad o eiddo Crist pan ddinystriwyd Jerusalem.*

Yn y lle cyntaf sylwn fel hyn: Os bu Iesu Grist yn bersonol gyda ei ddyscyblion hyd ddinystr Jerusalem, fel yr haerai Mr. Jones, yna afresymol fuasai sôn am *ddyfodiad* Crist, tra yr oedd *gyda* ei ddyscyblion yn y wlad yn barod! Ond digon ar hyna.

Yn nesaf, sylwn nad oes un cyfeiriad yn yr ysgrythyrau fod Iesu Grist i ddyfod yn ninystr Jerusalem; canys pe byddai, yna gallem brofi fod yr ysgrythyrau yn croesi eu gilydd. Dim ond dau ddyfodiad sydd â son am danynt; y dyfodiad cyntaf yn y cnawd, a'r ail ar gymmylau y nef yn y dydd diweddaf. Yr hyn sydd yn profi hyn tu hwnt i bob dadl, yw yr ysgrythyr ganlynol:—"Eithr yr awrhon unwaith yn niwedd y byd yr *ymddangosodd* efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun. Ac megys y gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn: felly Crist hefyd, wedi ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer, a *ymddengys* yr AIL *waith*, heb bechod, i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl, er iachawdwriaeth" (Heb. ix, 26—28). Beth a allai fod yn fwy pendant? Yn wir, y mae hyd y nod Mr. Jones ei hun, cyn hyn, wedi gorfod tewi yn ngwyneb yr adnodau hyn, fel y buom ni yn dystion. Eithr pe na fyddai yr adnodau hyna mewn bodoliaeth, onid yw yr holl grybwylliadau ereill braidd yr un mor bendant? Darllener, er enghraifft, yr adnodau hyn:—"Ac yna yr ymddengys arwydd Mab y Dyn yn y nef: ac yna y galara holl lwythau y ddaear, a hwy a *welant* Fab y Dyn yn dyfod ar gymmylau y nef, gyda nerth a gogoniant mawr. Ac efe a ddenfyn ei angylion â mawr sain udgorn; a hwy a gasglant ei etholedigion ef ynghyd o'r pedwar gwynt, o eithafoedd y nefoedd hyd eu

heithafoedd hwynt" (Math. xxiv, 30, 31). Yn awr, beth sydd yn debyg i ddinystr Jerusalem yn y desgrifiad hwn? Pwy a glywodd sôn i neb *weled* Mab y Dyn yr amser hwnw? a phwy a glywodd iddo gasglu ei etholedigion y pryd hwnw o'r pedwar gwynt? Fe ŵyr pawb yn amgen, canys nis *gwelai* neb Crist wedi iddo ymadael unwaith, hyd oni ddywedid, "Bendigedig yw yr Hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd" (Math. xxiii, 39). Hefyd, nid *casglu* a fu yn ninystr Jerusalem, eithr *gwasgaru*; ac y mae'r casglu heb gymmeryd lle etto. Yn wir, mae y pwnc hwn mor eglur i'r sawl a fŷn ddeall, fel nad ydym ni yn teimlo i ychwanegu, yn fwy nâ thystiolaethu y bydd casgliad yr etholedigion yn cymmeryd lle o flaen casgliad yr holl genedloedd, sef yn ei ddyfodiad; canys *wedi* i Grist ddyfod yn ei ogoniant, a'r holl angylion a'r saint gydag ef, ac *eistedd* ar ei orseddfainc, y "cyd-gesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd" (xxiv, 31, 32); oblegid dywedir y bydd yr etholedigion, neu y saint, yn "cyfarfod â'r Arglwydd, yn yr awyr," ac y bydd yntau "yn dyfod gyda myrddiwn o'i saint," a hyny yn flaenorol i gyd-gasgliad yr holl genedloedd.

Yn nesaf, wedi sylwi ar y pedwar gosodiad blaenorol, arweinir ni i wneuthur sylwadau pellach o berthynas i rai pethau ag ydynt yn dal cyssylltiad â'u pwnc, gan eu galw yn

SYLWADAU YCHWANEGOL.

Dymunwn alw sylw y darllenydd at Math. xii, 32, "A phwy bynag a ddywedo air yn erbyn Mab y Dyn, fe a faddeuir iddo: ond pwy bynag a ddywedo yn erbyn yr Ysbryd Glan, nis maddeuir iddo, nac yn y *byd hwn*, nac yn y *byd a ddaw*." Dadleua llawer, ac ond odid nad yw y Mrd. Jones a Davies yn eu mysg, fod y "byd hwn" a'r "byd a ddaw" yn arwyddo dau gyfnod, sef yr oruchwyliaeth Iuddewig a'r oruchwyliaeth Gristionogol. Mae Testament Newydd y Bedyddwyr hefyd yn cyfieithu y geiriau er meddwl yr un peth, fel hyn—"Ni faddeuir iddo byth, nac yn y *cyflwr* presennol, nac yn y dyfodol." Yn wir, nid gwaeth gan ddynion beth a wnelont er ceisio darnguddio y gwirionedd, ac er dal i fyny eu hopiniynau. Mae synwyr yr adnod uchod ei hunan yn profi mai nid y ddwy oruchwyliaeth a feddylir, eithr y byd hwn a'r byd a ddaw. Onid oedd teyrnas nefoedd, neu yr oruchwyliaeth Gristionogol, yn mysg y bobl ar y pryd y llefarodd Crist y geiriau? a pha oruchwyliaeth arall i ddyfod a allasai fod? Yr oedd cyfraith maddeuant yr Efengyl wedi ei sefydlu eisoes, ac nid oedd cyfnewidiad i fod byth, oddieithr yn y byd arall; canys y mae rhai pechodau, ag ni faddeuir yn y byd hwn, yn cael eu maddeu yn y byd a ddaw, fel y gwelir yn Act. iii, 19, 20. Gwelwn, ynte, y rhesymoldeb o ddweyd na faddeuir pechod anfaddeuol, "nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw."

Mae y rhan fwyaf o esbonwyr, fel y sylwai Mr. Jones, yn rhwym o gredu fod yr arwyddion yn canlyn y rhai a gredant

yn yr oes hon, yr un fath â chynt, o herwydd nad ydynt yn esbonio "diwedd y byd" yr un fath ag ef. Os mai nid hyd ddinystr Jerusalem y bu Crist gyda'i ddyscyblion, yna y mae efe gyda hwynt yn bresennol; ac os felly, yna y mae yn "cydweithio, ac yn cadarnhau y gair, trwy arwyddion y rhai sydd yn canlyn."

Yn awr, wrth derfynu y ddosran hon, dywedwn fod yn ddrwg genym nad allem gael lle i adolygu ychydig ar Esboniad Mr. Jones ynghylch Dinystr Jerusalem, a dyfodiad Mab y Dyn, er dangos mor gywrain y mae yn gwyrdroi yr ysgrythyrau. Ond er hyny, y mae sylwedd y cyfan sydd ganddo yn cael ei brofi yn gyfeiliornus yn ein sylwadau ar y pwnc hwn. Mae yn enbyd meddwl fod dynion hollol anysbrydoledig, yn ol eu haddefiad hwy eu hunain, yn beiddio cyfnewid meddwl gair Duw, trwy esbonio ac ysbrydoli, nes troi nef yn gyfundrefn, byd yn oruchwyliaeth, haul yn archoffeiriadaeth, y lleuad yn is-offeiriadaeth, a'r sêr yn Lefiaid, ynghyd â'u hunain, os goddefir yr ymadrodd, yn ynfydion! canys pwy a geisiodd hyn oddiar eu dwylaw?

---

## § II.—ARWYDD I'R RHAI DIGRED, A LLEFARU A THAFODAU.

DYWEDAI y Parch. J. Jones, Llangollen, yn ei ddarlith olaf yn Merthyr, mai iddo *ef* y perthynai arwydd y rhai digred; tra yr haera y Parchedig arall o Llanelli, Brycheiniog, yn nhud. 18 o'i lyfryn, mai i'r Iuddewon yn unig y perthynai. Gwell i'r dynion hyn settlo â'u gilydd cyn dyfod allan mwyach i filwrio yn erbyn y Saint; canys y mae yn enbyd eu gweled hwy yn lladd eu gilydd, ac yn gadael y Saint o hyd i ddianc yn fyw.

Ond gadewch i ni chwilio yr ysgrythyrau, er edrych pa beth a welwn yn dal cyssylltiad â'r pwnc uchod. Yn 1 Cor. xiv, 21, 22, dywed Paul, "Yn y ddeddf y mae yn ysgrifenedig, Trwy rai estroniaethus, a thrwy wefusau estronol, y llefaraf wrth y bobl hyn; ac ni'm gwrandawant felly, medd yr Arglwydd. Am hyny, *tafodau* ydynt *arwydd*, nid i'r rhai sydd yn credu, ond i'r rhai *digred*: eithr prophwydoliaeth, nid i'r rhai digred, ond i'r rhai sydd yn credu." Wel, yr ydym yn gweled fod y tafodau hyn yn *arwydd* i'r digred; ond ni ddywedir arwydd o ba beth ydynt. Ymddengys i ni fod y geiriau a geir yn Esay xxviii, 11, sef, "A blocsgni gwefusau, ac â thafodiaith ddyeithr y llefara efe wrth y bobl hyn," yn fwy o arwydd *barn* ar y bobl hyny, nag o arwydd er eu hargyhoeddi; canys "ni fynent wrandaw." (Gwel hefyd Deut. xxviii, 46, 48.) Felly yn eglwys Corinth; canys, pe deuai yr eglwys oll ynghyd i'r un lle, a llefaru o bawb â thafodau dyeithr, a dyfod o rai annysgedig neu ddigred i mewn, oni ddywedent eu bod yn

ynfydu? Mae yn wir y buasai hyny yn arwydd i'r digred; er hyny, yr oedd yn llawer gwell iddynt fod hebddo, am nad oedd yn ddim amgen nag arwydd barnol; canys nid oedd yn effeithio dim arnynt ond eu caledu, megys y bu hefyd ar ddydd y Pentecost, yn flaenorol i bregeth Pedr.

Etto, yr oedd arwydd arall mewn cyssylltiad â'r *prophwydo*; ond nid i'r digred y perthynai hwnw, eithr i'r eglwys. Hwn oedd yr arwydd goreu o lawer i'r digred, er ei argyhoeddi, fel y deallwn wrth yr adnodau hyn:—"Eithr os prophwyda pawb, a dyfod o un digred neu annysgedig i mewn, efe a *argyhoeddir* gan bawb, a fernir gan bawb: ac felly y gwneir dirgelion ei galon ef yn amlwg; ac felly, gan syrthio ar ei wyneb, efe a addola Dduw, gan ddywedyd fod Duw yn wir ynoch" (adn. 24, 25). Yr oedd y tafodau, er eu bod yn arwydd, yn effeithio ar y digred yn y fath fodd nes eu gwneyd yn fwy o anghredinwyr nag o'r blaen; canys ni wrandawent ar y tafodau, fel y rhag-ddywedodd yr Arglwydd: eithr yr oedd pawb yn gallu eu hargyhoeddi trwy brophwydoliaeth, a thrwy hyny deuent i addoli Duw. Yr arwydd goreu, ynte, yw arwydd yr eglwys, sef arwydd prophwydi, ac nid arwydd y digred, yr hwn oedd yn arwydd barnol. Etto, yr ydym ni yn foddlawn i bawb ddewis drostynt eu hunain; os oes rhywrai am arwydd y digred (sef eiddo Mr. Jones), gallant ei gael, trwy ddyfod i eglwysi Saint yr oes hon, a chânt brawf iddynt eu hunain mai arwydd i galedi, yn fwyaf cyffredin, yw arwydd y digred; ac os oes rhywrai am yr arwydd arall, gallant gael hwnw hefyd yn yr un lle. Ond nid dyledswydd yr eglwys yw ymarfer llefaru â thafodau, prophwydo, &c., er mwyn argyhoeddi y digred, canys gosodwyd pregethu i'r dyben hyny; eithr dyledswydd yr eglwys yw gwneyd yn ol dysgeidiaeth Paul, sef— "Beth gan hyny, frodyr? pan ddeloch ynghyd, y mae gan bob un o honoch salm, y mae ganddo athrawiaeth, y mae ganddo dafodiaith, y mae ganddo ddadguddiad, y mae ganddo gyfieithiad. Gwneler pob peth er *adeiladaeth*," sef adeiladaeth yr eglwys, ac nid y byd.

Yn awr etto, cawn edrych pa fodd yr oedd llefaru â thafodau yn cymmeryd lle, ac i ba ddyben. Yn 1 Cor. xiv, 2—5, dywed Paul am dafodau fel hyn:—"Yr hwn sydd yn llefaru â thafod dyeithr, nid wrth *ddynion* y mae yn llefaru, ond wrth Dduw; canys nid oes neb yn gwrandaw [*understand*]; er hyny yn yr ysbryd y mae efe yn llefaru dirgeledigaethau. * * * Yr hwn sydd yn llefaru â thafod dyeithr, sydd yn ei adeiladu ei hunan; eithr yr hwn sydd yn prophwydo, sydd yn adeiladu yr eglwys. Mi a fynwn petych chwi oll yn llefaru â thafodau dyeithr; ond yn hytrach brophwydo o honoch; canys mwy yw yr hwn sydd yn prophwydo, nâ'r hwn sydd yn llefaru â thafodau; *oddieithr* iddo ei *gyfieithu*, fel y derbynio yr eglwys adeiladaeth." Y mae hyn yn dangos fod llefaru â thafodau, os cyfieithid yr hyn a lefarid, yn gyfryw â phrophwydoliaeth;

ond y mae yr Apostol yn yr adnodau dilynol yn anghymmeradwyo llefaru â thafodau, oddieithr fod y tafodau yn cael eu cyfieithu, am na roddid â'r "tafod ymadrodd deallus," ac am y byddid yn "llefaru wrth yr awyr." Eithr y mae yr Apostol yn cynghori y Corinthiaid, gan eu bod yn awyddus i ddoniau ysbrydol, i geisio rhagori tuag at adeiladaeth yr eglwys. "O herwydd paham," medd efe, "yr hwn sydd yn llefaru â thafodau dyeithr, gweddied ar iddo allu cyfieithu;" ac, medd efe etto yn yr un bennod, "Eithr oni bydd cyfieithydd, tawed yn yr eglwys; eithr llefared wrtho ei hun, ac wrth Dduw." Y mae rhai yn meddwl, pan ddeuai "yr eglwys oll ynghyd i'r un lle, a llefaru o rywrai a thafodau dyeithr, a dyfod o rai annysgedig neu ddigred i mewn, y buasai raid fod y llefaru hyny yn ddealladwy iddynt, cyn y buasai yn "arwydd" iddynt. Ond ychydig bach o ystyriaeth a rodda oleuni gwell, canys yn adn. 24 dywedir, "Eithr os prophwyda pawb, a dyfod o un digred neu annysgedig i mewn, efe a argyhoeddir gan bawb, a fernir gan bawb." Mae fod yr annysgedig yn cael ei argyhoeddi, yn dangos ei fod yn deall yr iaith ag oedd yr eglwys yn ddeall, ac yn dangos hefyd nad rhyw estron-ddyn ydoedd ef. Gallai y tafodau fod yn "arwydd" iddo ef, heb ei fod yn eu deall, oherwydd i'r Arglwydd ddywedyd y llefarai wrtho ef ac ereill, trwy "dafodiaith ddyeithr."

Ymddengys hefyd oddiwrth yr ysgrythyrau ag ydym newydd ddyfynu, er fod y tafodau yn arwydd i'r digred, nad oes gorchymyn i'w harferyd, oddieithr eu bod yn cael eu cyfieithu; ond fod i'r sawl a'i harfero lefaru wrtho ei hun ac wrth Dduw, hyd y nod pe buasai y digred yn bresennol. Etto, ar ddydd y Pentecost, yr oedd y dyscyblion wedi dechreu llefaru cyn i'r digred ddyfod ynghyd; ac er i'r tafodau fod yn arwydd i'r digred yno, etto llefaru yr oeddynt hwy er adeiladu eu hunain; canys "yr hwn sydd yn llefaru â thafod dyeithr, sydd yn ei adeiladu ei *hunan*," ac nid y digred na'r eglwys, oblegid "nid wrth ddynion y mae yn llefaru, eithr wrth Dduw."

Etto, er ateb Mr. Davies, pan y dywed yn nhud 24 o'i lyfryn, mai dyben amrywiaeth tafodau oedd er galluogi y dyscyblion i anerch Iuddewon "o bob cenedl dan y nef," nid oes eisieu mwy nâ chrybwyll fod Pedr yn medru eu hanerch *oll* mewn *un* iaith, yr hyn sy'n profi nad dyna ddyben neillduol y tafodau.

Yn awr, terfynwn y traethawd hwn etto, gan obeithio y bydd gyda'r lleill yn foddion i oleuo meddyliau llaweroedd, a'u dwyn i adnabyddiaeth y gwirionedd. Bydd y traethawd nesaf, sef yr olaf, i gynnwys sylwadau ar "*Yr Hyn sydd o Ran, a'r Hyn sydd Berffaith.*"

*Merthyr, Gorph.* 2, 1852.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 6.] [PRIS 1g.

# TRAETHODAU

AR

# WYRTHIAU,

YN CYNNWYS

ADOLYGIAD AR DDARLITHIAU Y PARCH. J. JONES, LLANGOLLEN, A LLYFRYN Y PARCH. J. DAVIES, LLANELLI, AR YR UN PWNC.

---

GAN JOHN DAVIS, MERTHYR.

---

## TRAETHAWD VI.

### § I.—"YR HYN SYDD O RAN, A'R HYN SYDD BERFFAITH," NEU DDARFYDDIAD GWYRTHIAU.

WRTH ddechreu y traethawd diweddaf hwn, hysbyswn nad oes fawr golwg genym y gallwn ddyfynu cymmaint ag a ewyllysiem o'r hyn y mae y Parchedigion Jones a Davies wedi ei ddywedyd ar y pwnc hwn; o ganlyniad, annogwn y darllenydd i chwilio Esboniad Mr. Jones ar y Corinthiaid, a thud. 19, 29, 30, 32, a 33 o lyfryn Mr. Davies. Mae y ddau awdwr hyn yn cytuno â'u gilydd o'r diwedd, er eu bod yn groes i'r rhan fwyaf o'r esbonwyr; o ganlyniad, pan fyddom yn sylwi ar y naill, byddwn yn sylwi ar y llall hefyd.

Ond er myned at ein pwnc, cawn ddyfynu yn y lle cyntaf yr adnodau pendant a ddarllenodd Mr. Jones yn ei ddarlith olaf dros ddarfyddiad gwyrthiau; a dyma hwynt:—" Cariad byth ni chwymp ymaith: eithr pa un bynag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant; ai tafodau, hwy a beidiant; ai gwybodaeth, hi a ddiflana. Canys o ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo: eithr pan ddelo yr hyn sydd berffaith, yna yr hyn sydd o ran a ddileir" (1 Cor. xiii, 8—10). " Ac efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon; i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist: hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr

perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist: fel na byddom mwyach yn blantos yn bwhwman, ac yn ein cylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth, trwy hoced dynion, trwy gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo" (Eph. iv, 11—14).

Mae llawer ffordd wedi ei threio er ceisio esbonio yr adnodau hyn, ac y mae y gwahanol esbonwyr yn gweled ffolineb eu gilydd yn barhaus, eithr yn methu yn deg â gweled ffolinebau eu hunain. Ymdrechant brofi nad yw y doniau ysbrydol i fod yn yr eglwys yn yr oes hon; ac wrth wneuthur hyny, profant y naill y llall yn gyfeiliornus, yr hyn a wneir yn rhwydd, gan nad oes gan neb o honynt olygiadau cywir ar y pwnc. Ac er cael enghraifft o hyn, dyfynwn allan o Esboniad Mr. Jones, tud. 167, rai o'i sylwadau ynghylch "yr *hyn sydd o ran*" (*ec merous*), a'r "*hyn sydd berffaith*" (*teleios*), y rhai ydynt fel y canlyn:—

"Ond pa beth a ddywed yr Esbonwyr?

"'Cyfeirir at ystad y nefoedd ar ol yr adgyfodiad,' Bloomfield, Grotius. 'Y wybodaeth bresennol a dderfydd, a chyrhaeddir gwybodaeth burach o'r byd arall, a holl berffeithiau Duw, yn y nef,' Photius, Slade, Theodoret, Wetstein, Winer, Noesselt, Chrysostom. 'Ni fydd anghen am y doniau hyn yn y nef, canys Duw fydd yn ddysgawdwr yno. Yn y nef, lle mae perffeithrwydd, ni bydd un anmherffeithrwydd yn galw am y doniau hyn,' Barnes, Dr. Lewis, Charles, James Hughes.

"Yn awr, sylwn ar yr esboniad cyffredin hwn. Os *yn y nef* ar ol yr adgyfodiad y palla yr hyn sydd o ran, pa le mae ein prophwydo, ein tafodau dyeithr, a'n gwybodaeth gwyrthiol? Os ydym ni etto yn ngoruchwyliaeth yr *ec merous*, yr ydym etto yn gweled gweledigaethau, ac yn prophwydo, ac yn llefaru â thafodau, ac yn iachâu y cleifion, &c. Ond, ai yn y nef y mae y TELEIOS hwn? Os nad ydym yn rhwym o dewi gerbron ein tadau parchedig mewn duwinyddiaeth, gallwn feiddio ail chwilio i'r beibl ar y mater."

Gwelwn fod Mr. Jones yma yn gorchfygu ei dadau parchedig mewn duwinyddiaeth, trwy brofi yn deg nad oes ganddynt hwy yr hyn sydd o ran, na'r hyn sydd berffaith. Maent hwy yn gwadu bodoliaeth bresennol prophwydoliaethau, tafodau, a gwybodaeth, ac ar yr un pryd yn haeru nad yw yr hyn sydd berffaith wedi dyfod; ac felly yn gwneyd eu hunain yn amddifad o'r ddau! Ond er fod y plant yn gallach nâ'u tadau mewn rhai pethau, etto maent yn ffolach mewn pethau ereill. Myn Mr. Jones a'i frawd Davies fod yr hyn sydd berffaith wedi

dyfod, ac o ganlyniad fod yr hyn sydd o ran wedi darfod er pan ddaeth yr hyn sydd berffaith; ac haerant yn ddigywilydd yn ngwyneb eu tadau, mai y Testament Newydd yw yr hyn sydd berffaith, ac nid dim arall. A welwch chwi mor ddysgedig mae y plant wedi myned!

Etto, cyn myned yn mhellach, cawn ddyfynu sylwadau Mr. J. Jones ar yr adnodau ereill, allan o'i Esboniad, tud. 167 a 168:—

"Mae yn Eph. iv, 11—14, ymadroddion cyffelyb, ac o'r ddau yn eglurach ar y pwnc: 'Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr ac athrawon.' Ei amcan ydoedd i berffeithio y saint gogyfer â gwaith y weinidogaeth, er mwyn perffeithio corff Crist, sef y corff o athrawiaethau a dyscyblaethau, perthynol i oruchwyliaeth Crist. Adeiladu maen ar faen o'i gorff cynnwysfawr hwn, yr oeddynt dros yr oes apostolaidd. Cyfnod y swyddau gosodedig a nodwyd sydd '*hyd*' (*mechri*, *until*) 'oni chyrhaeddom oll hyd undeb y ffydd a'r gwybodaeth perthynol i Fab Duw, i fod yn wr perffaith, hyd fesur maintioli cyflawnder Crist.' Yr amcan o hyn etto yw, 'fel na byddom mwyach' fel yr ydym hyd yma, 'yn blantos, yn cael ein bwhwman a'n cylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth, drwy hoced dynion, &c.'

* * * * * *

"Yr amser cyn gorpheniad y gyfrol ddwyfol, elai gau-athrawon o amgylch yr eglwysi, gan haeru, 'Fel a'r fel y dywed Pedr,' 'Fel a'r fel y dywed Paul.' 'Nage, fel a'r fel Ioan,' &c., &c. Pan ddeallai yr eglwysi fod y cyfryw ddysgawdwr ag apostol yn dywedyd felly, cylch-arweinid hwy ymaith oddiwrth yr athrawiaeth a gredasant o enau apostol ar y dechreuad. Ar ol gorpheniad y dadguddiadau, a chael pob maen i'w le, methodd y gau-athrawon gael derbyniad yn yr eglwysi, a'r canlyniad fu, dechreuad a chyfodiad sectau o bobl ag a'u gwrandawent. Erbyn casglu yn nghyd yr holl olygiadau apostolaidd, a'u gosod i edrych yn llygaid eu gilydd, ceir hwynt yn cyduno â'u gilydd, ac adnebydd Paul y lleill yn gystal ag yr adnabyddant hwythau yntau."

Yn awr, cawn frysio i sylwi ar y gosodiadau canlynol, mewn atebiad i sylwadau Mr. Jones yn ei Esboniad ac yn ei ddarlith olaf, ynghyd â sylwadau Mr. Davies, o Lanelli, yn ei lyfryn, yr hwn a amddiffyna ddaliadau Mr. Jones. Y gosodiadau ydynt fel y canlyn:—

I. Fod yr "hyn sydd o ran" heb ddarfod, a bod yr "hyn sydd berffaith" heb ddyfod.

II. Mai nid y Testament Newydd yw yr "hyn sydd ber-

ffaith," eithr mai rhywbeth arall yw hwnw, ag sydd etto i ddyfod.

III. Fod apostolion, prophwydi, bugeiliaid, athrawon, &c., i barhau yn yr Eglwys.

Ond cyn sylwi ar y gosodiadau hyn, dymunwn hysbysu ein bod yn flaenorol wedi ysgrifenu tracthawd ar y pwnc hwn, dan yr enw "Yr Hyn sydd o Ran, a'r Hyn sydd Berffaith," yr hwn a gynnwysa adolygiad cyflawn ar holl sylwadau y Parchedigion Jones a Davies. Am hyny, cynghorem y darllenydd i fynu gafael ynddo; canys nid ydym ni yn bwriadu, os gallwn beidio, ysgrifenu yn y tracthawd presennol, yr hyn sydd wedi ei gyhoeddi yn y llall, eithr ni a ymdrechwn am ryw sylwadau newyddion. Ac i'r dyben hyny cawn sylwi yn awr ar

(I.) Y gosodiad cyntaf,—*Fod yr "hyn sydd o ran" heb ddarfod, a bod yr hyn sydd berffaith heb ddyfod.*

Oddiar ymddangosiad Saint y Dyddiau Diweddaf yn y wlad, y mae llawer mwy o sylw yn cael ei roddi i'r ymadroddion a welir yn 1 Cor. xiii, 8—13, nag a gawsant erioed o'r blaen. Ni ddaeth i feddwl neb cyn hyny nad y nefoedd, neu ryw gyflwr dyfodol, oedd yr hyn a feddylid wrth yr "*hyn sydd berffaith*;" eithr yn bresennol, mae y dysgedigion yn gweled, os dilynant farn eu tadau, eu bod yn rhwym o addef nad oes ganddynt yr hyn sydd o ran na'r hyn sydd berffaith, neu ynte y dylai y prophwydoliaethau, tafodau, a'r wybodaeth fodoli yn yr oes hon: canys fe ŵyr pawb, fel y sylwai Mr. Jones, mai ffin ddarfyddol yr hyn sydd o ran yw dyfodiad yr hyn sydd berffaith, ac o ganlyniad nis gall yr hyn sydd o ran fodoli ar ol dyfod yr hyn sydd berffaith.

Eithr er mwyn profi fod yr hyn sydd o ran heb ddarfod, cawn yn gyntaf edrych i mewn i'r hyn a ddywed yr ysgrythyrau. Yr hyn sydd o ran yw y doniau ysbrydol, sef prophwydoliaethau, tafodau, gwybodaeth, &c.; canys, fel y dywed yr Apostol, "O ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo." Ymddengys yn eglur oddiwrth 1 Cor. xii, fod y doniau hyn, ynghyd â'r rhai ereill, yn aelodau o gorff Crist, ac wedi eu gosod yn yr eglwys gan Dduw er ei pherffeithio, hyd nes y delo yn wr perffaith, at fesur oedran (neu faintioli) cyflawnder Crist; ac y mae yr un mor eglur nas gall y naill ddawn ddywedyd wrth y llall, "Nid rhaid i mi wrthyt;" "canys y corff nid yw un aelod, eithr llawer." Yr oedd yr apostolion, prophwydi, bugeiliaid, &c., yn rai o aelodau y corff hefyd; a'r dyscyblion neu y credinwyr ag oeddynt yn meddu y swyddi a'r doniau hyny, oedd yn cyfansoddi y corff, neu mewn geiriau ereill, y cnawd. Trwy y gwahanol swyddi a'r doniau yr oedd yr holl gorff yn cael ei adeiladu, ac nid oedd yn bosibl iddo fyw hebddynt. Yr oedd yr aelodau a dybid eu bod yn wanaf yn anghenrheidiol; canys er y mynai y Corinthiaid wahardd llefaru â thafodau, etto cynghorodd Paul hwynt i beidio, oblegid eu bod yn aelod o'r corff, a thrwy eu cyfieithu, yn gystal aelod

â phrophwydoliaeth, yr hon a fynent hefyd, yn groes i ewyllys Duw, ei dirmygu.

Yn awr, yr oedd y doniau hyny, ag oedd yn cyfansoddi yr hyn sydd o ran, sef prophwydoliaeth, tafodau, a gwybodaeth, yn adeiladu yr eglwys; canys "yr hwn sydd yn prophwydo, sydd yn llefaru wrth ddynion er adeiladaeth, a chynghor, a chysur;" ac felly y gwna y tafodau hefyd trwy eu cyfieithu, ynghyd â'r ddawn o wybodaeth. (1 Cor. xiv, 3, 5.) Oblegid hyny y dyweda yr apostol, "Dilynwch gariad, a deisyfwch ddoniau ysbrydol." Ac er nad yw prophwydoliaethau i barhau byth, fel cariad, etto mae yn sicr y parhant cyhyd ag y byddo eu heisieu, a dim yn mhellach; ac felly y doniau ereill. Yn awr, gan fod prophwydoliaethau yn anghenrheidiol er adeiladu yr eglwys yn yr amser gynt, pa fodd y gall yr eglwys wneyd hebddynt yn yr oes hon? Os dywedir fod yr ysgrythyrau ganddi, nid yw y rhai hyny, wedi y cyfan, yn ddim amgen nâ *phrophwydoliaethau* o ran, a *gwybodaeth* o ran, ac nid ydynt yn cynnwys ond rhan fychan o'r hyn a ddeilliodd trwy y ddawn o brophwydoliaeth a gwybodaeth, heb sôn dim am y lleill. Felly, gwelwn mai yr hyn sydd o ran yw hyd y nod y Testament, a bod rhaid i'r Testament fyned yn ddiddefnydd, pan ddelo yr hyn sydd berffaith: a chan y gwneir defnydd o'r hyn sydd o ran yn bresennol, mae yn rhaid fod yr hyn sydd berffaith heb ddyfod.

(II.) Yr ail osodiad yw,—*Mai nid y Testament Newydd yw yr hyn sydd berffaith, eithr mai rhywbeth arall ydyw, yr hwn sydd etto i ddyfod.*

Nis gwyddom pa fodd y gall dynion ag ydynt yn feddiannol ar reswm, fod mor ffol â meddwl mai y Testament Newydd yw yr hyn sydd berffaith, tra y gwyddant yn eithaf da mai pethau o ran a gynnwysa. O ran yr oedd Paul yn prophwydo ynghylch yr adnodau dan ein sylw: oblegid nid perffeithrwydd oedd yr hyn a ddywedodd ef, fel yr addefa ei hun, yn y geiriau hyn—"*O ran* y gwyddom, ac *o ran* yr ydym yn prophwydo." "Eithr pan ddelo yr hyn sydd *berffaith* [sef yr hyn ag sydd yn amgenach nâ'n gwybodaeth a'n prophwydo presennol], yna yr hyn sydd o ran a ddileir." Ac er mwyn egluro y peth, defnyddia yr Apostol y gymhariaeth hon; sef, "Pan oeddwn fachgen, fel bachgen y llefarwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen y meddyliwn: ond pan aethym yn wr, mi a rois heibio bethau bachgenaidd." Yna ychwanega, "Canys gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych, mewn dammeg; ond yna, wyneb yn wyneb: yn awr yr adwaen o ran; ond yna yr adnabyddaf megys y'm hadwaenir." Gwelwn wrth hyn, ynte, mai pethau bachgenaidd a feddai yr apostolion; a thegan bachgenaidd oedd y brophwydoliaeth hon o eiddo Paul ynghylch y doniau ysbrydol: ac yr oedd holl wybodaeth yr apostolion a'r saint yn yr amser hwnw yn bethau bachgenaidd, ac yn bethau i'w *rhoddi heibio* rywbryd, fel pethau diles a dianghenrhaid. Yr

oedd yr epistolau a ysgrifenwyd at yr eglwysi, ynghyd â'r doniau a feddent eu hunain, yn fuddiol iddynt fel plant, neu fechgyn; ond wedi y delent yn "wr perffaith," yna gallent roddi yr holl bethau hyny heibio, gan na fuasent mwyach yn gweled trwy ddrych yn aneglur, eithr "wyneb yn wyneb." Y sawl ag oedd yn gweled trwy ddrych y pryd hyny, oedd y cyfryw ag a gaent weled wyneb yn wyneb, ac adnabod megys eu hadwaenir, mewn amser i ddod. Nid oedd neb y pryd hyny yn amgen nâ bachgen: a chan mai bechgyn felly a ysgrifenodd y Testament Newydd, rhaid mai peth hollol fachgenaidd yw y Testament Newydd, a dweyd y goreu am dano. Nid oedd yr hyn oedd berffaith wedi dod pan gafodd ei ysgrifenu; ac os felly, mae y Testament yn awr yn gymmaint peth o ran ag a fu erioed, fel y gallwn ddeall wrth weled doethion yr oes hon yn eisio ei berffeithio yn barhaus. Yr oedd ysgrifenwyr y Testament Newydd, yn gystal â'r Hen Destament hefyd, yn gymhariaethol i'r peth a fyddant rywbryd etto, yn llefaru megys bechgyn, ac yn deall megys bechgyn, ac yn meddwl megys bechgyn, ac wrth gwrs, yn ysgrifenu hefyd megys bechgyn, hyd y nod pan yn cyfansoddi yr hyn a eilw rhai yn awr "yr hyn sydd berffaith." Wel, pa fodd, ynte, y gall dynion haeru mai y Testament Newydd yw yr hyn sydd berffaith, tra nad yw y wybodaeth a'r prophwydoliaethau sydd ynddo ond pethau o ran? Pe y Testament fuasai yr hyn sydd berffaith, yna yr oedd sylwedd y perffeithrwydd yn yr eglwys cyn i'r hyn o ran ddarfod. Ond pa achos ymhelaethu cymmaint ar bwnc mor eglur ag a ddeallid gan bawb hyd yn ddiweddar. Onid yw y Testament ei hun, megys y mae gan Gristionogion y wlad hon, yn llawer rhy analluog i berffeithio y saint hyd y nod gystal â'r hyn o ran yr amser gynt? ac os nad yw gystal, ïe, a llawer yn well, nâ'r hyn o ran, yna nid y perffeithrwydd dan sylw ydyw. Edrychwch mewn i gapeli y wlad, a gwelwch fel y mae'r hyn sydd berffaith yn gweithio: arweinia un blaid i wneyd fel hyn, a'r blaid arall i wneyd yn wahanol, hyd nes y mae llawer yn chwennych gweled dyddiau yr hyn sydd o ran yn dychwelyd, canys y mae'r perffeithrwydd yn fwy analluog na'r hyn sydd o ran. Pan y meddai yr eglwys apostolion, prophwydi, bugeiliaid, doniau ysbrydol, &c., yr oedd yn llawer perffeithiach nag un eglwys sectaraidd yn bresennol. Yr oedd gwybodaeth a phrophwydoliaeth o ran y pryd hyny, eithr yn awr mae y cyfan yn anwybodaeth ac ansierwydd, a'r eglwysi yn galw puteiniaid ar eu gilydd; ac y mae Mr. Jones, Llangollen, wedi bod mor onest â chyhoeddi mai puteiniaid yw holl eglwysi y wlad. Gwel a ganlyn yn ei Esboniad ar y Corinthiaid, tud. 90:—"Putain yw pob sect ac eglwys Gristionogol a blyga i dderbyn cymmaint ag un ddeddf athrawiaethol, neu ymarferol, o enau un pab, na senedd, na brenin, na brenines, na chynghorfa, na *chonference*, nac *association*, na chymmanfa, na 'Cwrdd Chwarterol,' nac unrhyw gwrdd yn y byd o ddynion

da neu ddrwg, bychain neu fawr, heblaw o enau Crist, ei Phriod cyfreithlon, yn unig." Nis gwyddem ni hyd yn awr ein bod yn dadleu â dyn sydd yn aelod o eglwys a eilw efe ei hun yn butain. Dyna y gwir goreu a ddywedodd erioed. Etto, yn yr un dud. dywed, "Nad pwy yw y Butain Fawr yn llyfr y Dadguddiad, ystyrir hi yn fam puteiniaid y ddaear, sef yr holl sectau sy'n proffesu eu bod yn derbyn cyfreithiau crefyddol oddiwrth ddynion." Yna wrth nodi fod holl sectau y wlad yn yn gwneuthur felly, dyweda, "Y rhai sydd yn ufyddhau i'r cyfryw gynghorfäau, heb broffesu hyny, ïe, tra yn gwadu hyny, yw yr eglwysi hyny o eiddo yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr a ystyriant benderfyniadau cynghorfäau o weinidogion, yn meddu awdurdod uwch arnynt na dylanwad cynghor a chyfarchiad."

Fe wel pawb, bellach, fod y perffeithrwydd sydd gan y sectariaid yn gwneyd eu heglwysi yn buteiniaid, ac yn fil mwy anmherffaith nâ'r eglwys gynt, yr hon ni feddai ond yr hyn oedd o ran. Ond pa syndod fod gwraig yn myned yn butain, pan nad yw yn clywed byth oddiwrth ei phen neu ei gwr; eithr yn gorfod byw o hyd ar yr hen *stock* a gafwyd gynt, yr hyn a fu yn meddiant y Fam Butain am oesoedd lawer. Y mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn edrych yn mlaen at yr hyn sydd berffeithiach na'r Testament Newydd; ac ar yr un pryd y maent yn gwneuthur defnydd o'r hyn sydd o ran, gan ddilyn cariad, a deisyf doniau ysbrydol, hyd nes y delo y perffeithrwydd hwnw ar ol yr adgyfodiad, pan y bydd pob peth wedi ymberffeithio.

(III.) Y trydydd gosodiad yw,—*Fod apostolion, prophwydi, bugeiliaid, athrawon, &c., i barhau yn yr Eglwys.*

Haera Mrd. Jones a Davies nad oedd yr apostolion, y prophwydi, y bugeiliaid, a'r athrawon, i fodoli yn yr eglwys yn mhellach nâ'r ffin a nodir yn Eph. iv, 13, sef "HYD (*mechri*, until) oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd;" ac mewn canlyniad nad oedd gwyrthiau ychwaith yn parhau yn hwy nâ hyny. Haerant hefyd mai yr un ffin yw hon â'r ffin arall, sef dyfodiad yr hyn sydd berffaith, neu gasgliad yr ysgrythyrau at eu gilydd yn un llyfr.

Yn awr, nis gellid haeru dim braidd yn ffolach nâ hyn. Os nad oedd apostolion a phrophwydi yn parhau yn hwy nag hyd y pryd y casglwyd yr ysgrythyrau, yna nid oedd *bugeiliaid* ac *athrawon* yn parhau ychwaith. Mae yr eglwys heb neb ond Beibl a diaconiaid! Pa fodd y gallai y Mrd. Jones a Davies gymmeryd arnynt i fod yn fugeiliaid ac athrawon, gan ddysgu ffolineb felly i geisio difodi eu hunain? Dyma y rhai sydd yn dysgu bob amser, heb ddyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd. Wrth geisio difodi apostolion a phrophwydi, ynghyd â'r doniau ysbrydol, y mae'r bugeiliaid a'r athrawon hyn yn difodi eu hunain. Paham, gan hyny, yr ymdrafferthant hwy i berffeithio y saint trwy bregethu, &c., tra mae y Testament New-

ydd, neu yr hyn sydd berffaith, yn meddiant y saint. Paham na adawent i'r Testament a'r diaconiaid wneyd pob peth eu hunain, a gadael y puteiniaid (sef yr eglwysi) yn llonydd? canys fe allant hwy gael eu perffeithio fel arall.

Ond trown yn awr, i sylwi fod yr apostolion, y prophwydi, y bugeiliaid, a'r athrawon, wedi eu rhoddi "i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist" (Eph. iv, 11, 12). Yr oedd y swyddogion hyn i gyflawni y tri pheth a enwyd, sef yn 1af, perffeithio y saint; yn ail, gwaith y weinidogaeth; ac yn 3ydd, adeiladiad corff Crist. Mae ein dau barchedig yn anghofio cadw yr attal-nodau wrth ddarllen y geiriau uchod; a darllenant fel hyn—"I berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist." Mae attal-nod yn y Groeg, a'r Gymraeg, ar ol y gair "saint," yr hyn sydd yn cyfnewid y meddwl. Nid "perffeithio y saint gogyfer â gwaith y weinidogaeth" (fel y geiria Mr. Jones), yw y meddwl, eithr er perffeithio y saint, er gwaith y weinidogaeth, ac er adeilad corff Crist; onide, buasai raid fod y chwiorydd a phawb yn cael eu cymhwyso neu eu perffeithio i waith y weinidogaeth, yr hyn sydd yn ffolineb. Wel, yr oedd y swyddogion hyny wedi eu gosod i gyflawni y tri pheth dan sylw, "HYD oni ymgyfarfyddom yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran [neu faintioli] cyflawnder Crist." Dyna ydyw y ffin, mae yn wir, ond ni therfynodd ar gasgliad y Testament Newydd; canys nid anerch ei frodyr yr apostolion, yr oedd Paul, eithr yr Ephesiaid, pan y dywedodd, "hyd oni *ymgyfarfyddom* OLL yn undeb ffydd," &c.: o ganlyniad ymddengys yn naturiol fod Paul yn meddwl ymgyfarfyddiad yr holl eglwys yn gyffredinol, yn undeb ffydd, yr hyn a ŵyr pawb nad yw wedi cymmeryd lle etto. Hurtwch Mr. Jones oedd dweyd fod pob dyn mawr a phob dyn bach, os meddylir mai yr adgyfodiad yw yr "ymgyfarfyddiad," yn rhwym o fod yr un maintioli â Christ; canys y "gwr perffaith," sef yr eglwys, sydd i fod felly, a hyny mewn ffordd o gymhariaeth. Nid oedd yr eglwys yn *wr* PERFFAITH pan oedd Paul yn ysgrifenu, nac ychwaith ar ol cyd-gasgliad yr ysgrythyrau yn un llyfr: etto, yr oedd megys bachgen, yn gwybod o ran; ac yr oedd yr holl aelodau crybwylledig wedi eu gosod yn y corff ieuanc hwn, er ei feithrin yn y blaen, fel y cynnyddai i fod yn briodasferch i Grist; "o'r hwn y mae yr holl gorff wedi ei gyd-ymgynnull a'i gyd-gyssylltu, trwy bob cymmal cynnaliaeth, yn ol y nerthol weithrediad yn mesur pob rhan, yn gwneuthur *cynnydd y corff*, i'w adeiladu ei hun mewn cariad" (adn. 16). Yr oedd y corff wedi ei gyfansoddi gan Dduw, a hyny yn y dechreuad; ac yr oedd yr apostolion, prophwydi, bugeiliaid, athrawon, a'r doniau ysbrydol, wedi eu gosod yn aelodau ynddo, fel y gwasanaethent er cynnydd ac adeiladiad y corff, hyd nes y delai yn WR PERFFAITH. Mae hyn yn profi mai yr un gwaith oedd ganddynt o'r dechreu i'r diwedd; ac os nad yw yr eglwys neu y corff

hwnw wedi dyfod yn wr perffaith, yna y mae cymmaint o anghen yn bresennol am yr holl aelodau ag a fu erioed.

Nid yw y sylwadau canlynol o eiddo Mr. Davies, yn nhud. 30 o'i lyfryn, yn gymhwysiadol at gorff Crist; sef,—"Mae pethau yn anghenrheidiol tuag at ddarparu a sefydlu peiriant, ag nad ydynt anghenrheidiol wedi ei gwblhau. Nid yr un offerynau sydd anghenrheidiol, i agor lefel newydd, ag sydd anghenrheidiol i dori y mŵn a'r glo wedi ei hagor. Llawlifau, bwyill, &c., sydd anghenrheidiol i wneyd pedrolfen, ond anifeiliaid sydd anghenrheidiol i'w symud." Yn awr, gwelwn fod corff Crist yn beth gwahanol i lefel neu bedrolfen. Wedi i gorff unwaith gael pen, llygaid, clustiau, breichiau, traed, &c., y mae wedi ei sefydlu, ac yna bydd eisieu y rhai hyny arno cyhyd ag y byddo byw; felly, y mae anghen apostolion, prophwydi, bugeiliaid, athrawon, a doniau ysbrydol, ar eglwys Crist, hyd nes y delo yn *wr perffaith*. Er y gall yr ymborth gael ei newid o fwyd gwan i fwyd cryf, etto nis gellir tynu ymaith na newid dim ar yr aelodau a osododd Duw ar y cyntaf, heb anmharu neu ddinystrio y corff. O ganlyniad, mae yr eglwys yn bresennol yn meddu ei holl aelodau, ac y maent yn sicr o barhau ynddi hyd nes y delo yn wr perffaith, at fesur maintioli cyflawnder Crist.

Yn nesaf, cawn sylwi ychydig ar gyssylltiad y geiriau, "FEL na byddom mwyach yn blantos yn bwhwman, ac yn ein cylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth, trwy gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo" (adn. 14). Dywedai Mr. Jones, yn ei ddarlith olaf, ein bod wedi cael y Testament, "fel na byddom mwyach [sef wedi cael hwnw] yn blantos yn bwhwman, &c." Ond yn nhud. 114 o'i Esboniad ar y Corinthiaid, dyweda yn hollol fel arall, sef,—"Rhag cael o'r saint eu cylch-arwain fel hyn â phob awel dysgeidiaeth o eiddo y rhai a gynllwynent i'w twyllo, gosododd Duw apostolion, prophwydi, &c., y rhai a gedwid ganddo i hysbysu drwyddynt ei feddwl ar bob dadl." Y mae hyn yn gywir; canys cyn cael y swyddwyr hyny, yr oedd yr Ephesiaid ac ereill yn cael eu cylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth; eithr "*mwyach*," nid oedd achos i hyny fod, gan fod apostolion, prophwydi, &c., ganddynt. Ond gwelwn, mor fuan ag y collwyd yr apostolion, prophwydi, &c., cafodd y bobl eu cylch-arwain drachefn o hyny hyd heddyw yn fwy nag erioed, fel y gall pawb ganfod.

Yn wir, pa fwyaf yr ymhelaethwn ar y pwnc hwn, mwyaf i gyd y gwelwn fod adnodau pendant Mr. Jones dros ddarfyddiad gwyrthiau, &c., yn adnodau pendant dros eu parhad. A phe na allem brofi hyny yn ddigon boddhaol trwy ymresymu, mae yn hawdd ddigon i ddangos ffeithiau, y rhai a brofant tuhwnt i bob dadl fod ein gosodiadau ni yn wir. Y mae miloedd o dystion byw yn ein gwlad, y rhai ydynt yn gwybod fod yr holl swyddi a'r doniau cyntefig yn bodoli yn Eglwys neu gorff Crist yn yr oes hon; a gall pawb gael gwybod yr un peth trwy ufyddhau i'r Efengyl.

Efallai yr hoffai rhai weled barn yr enwog John Wesley ynghylch parhad gwyrthiau; ac er mwyn eu boddloni, dyfynwn a ganlyn o'i 94 bregeth ar y "Ffordd fwy rhagorol:"—"Nid ymddengys fod doniau goruwch-naturiol wedi parhau yn gyffredin yn yr eglwys, ond hyd yr ail neu y drydedd ganrif. Anfynych y clywwn am danynt ar ol y cyfnod andwyol hwnw, pan y galwodd yr Amherawdwr Cystenyn ei hun yn Gristion, a thrwy ei fympwy hunanol iddo feddwl lledaenu Cristionogaeth drwy bentyru cyfoeth, anrhydedd, a nerth ar y Cristionogion yn gyffredinol. O'r amser hyn darfyddasant braidd yn hollol; o leiaf, pur anfynych y clywir am danynt wedi y pryd hyn. Nid yr achos iddynt ballu oedd, fel y dywed y cyffredin *(vulgar)*, am nad oedd eu heisieu mwyach, o herwydd fod yr holl fyd wedi cofleidio Cristionogaeth. Mae hyn yn gamsyniad truenus! Nid oedd yr ugeinfed ran o'r byd yn Gristionogion pryd hyny, hyn y nod mewn enw. Y gwir achos [na fuasai y doniau gwyrthiol yn parhau] yw, o herwydd oeri o gariad llawer—ni feddai y Cristionogion fwy o Ysbryd Crist nag oedd gan y paganiaid ereill! Mab y Dyn, pan ymwelodd â'i eglwys, ni allodd braidd gael ffydd ar y ddaear. Dyma yr achos gwreiddiol na chafwyd doniau goruwch-naturiol yr Ysbryd Glân yn hwy yn yr eglwys Gristionogol, o herwydd ddarfod i'r Cristionogion droi yn baganiaid wedy'n, heb ond y llythyren farw yn unig yn ngweddill."

Yn awr, mae yn rhaid i ni frysio i derfynu, gan fod ein llèn yn agos llawn; etto, ystyriwn fod yr hyn a ddywedasom yn nghylch "yr hyn sydd o ran, a'r hyn sydd berffaith," yn ddigon, mewn cyssylltiad â'r pyneiau ereill, i brofi parhad gwyrthiau yn yr oes hon; a'r sawl sydd yn chwennych gweled rhagor o sylwadau, gallant gael eu boddloni, fe ddichon, yn ein traethodau ereill, y rhai ydym wedi gyhoeddi ar wahanol brydiau.

Megys ag yr awgrymasom yn flaenorol, yr ydym wedi gorfod gadael allan lawer iawn o'n sylwadau, o ddiffyg lle; oblegid yr oedd y pynciau a gymmerasom mewn llaw, pe gwnelem gyfiawnder â hwynt, yn teilyngu rhifynau o faintioli llawer mwy. Ond pa fodd bynag am hyny, hyderwn fod digon wedi ei ysgrifenu er gosod y gwirionedd yn eglur o flaen y darllenydd, fel nad oes perygl iddo fethu ei weled, os yw yn ewyllysio hyny.

Wrth ddiweddu, yr ydym yn dwyn tystiolaeth o'r hyn a wyddom. Yr ydym yn gwybod fod Duw yn arddel Saint y Dyddiau Diweddaf, fel ei unig bobl yn yr oes hon, a bod yr Arglwydd yn cyd-weithio gyda'i weision a'i bobl, ac yn cadarnhau ei eiriau trwy yr arwyddion y rhai a ganlynant y gwir gredinwyr hyd y

DIWEDD.

*Merthyr, Gorph.* 15, 1852.

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.